goeden yma gan lysieuwyr yn perthyn i ddosbarth y gwellt, am ei bod, fel gwellt, yn tyfu yn ddigangenau, ac yn wag yn ei chanol. Yn China y cafwyd hyd iddi gyntaf. Trosglwyddwyd hi i'r America yn fuan wedi darganfyddiad y cyfandir hwnw. Mae y tir a'r hinsawdd yno mor ffafriol i'w chynnydd nes erbyn heddyw America a'i hynysoedd sydd yn cynnyrchu y rhan fwyaf o siwgr.

Plenir y coed oddeutu dwy droedfedd o bellder oddiwrth eu gilydd. Pan gyrhaedda y planigyn aeddfedrwydd, bydd rhwng chwech ac ugain troedfedd o daldra. Ar ei ben bydd ychydig ddail yn ymlapio am eu gilydd. Yn mis Mawrth, pan fydd y sudd yn rhedeg allan, torir y pren, neu y *cane*, i lawr yn ymyl y ddaear. Gadewir y gwreiddyn yn y ddaear, a chynnyrcha hwnw bren newydd erbyn y flwyddyn ddyfodol. Parheir i wneyd hyn am o bymtheg i ugain mlynedd, ond ni chynnyrcha gymaint o siwgr pan fyddo wedi heneiddio. Wedi ei ail dori i fod yn ddarnau o faint cyfleus, rhwymir hwynt yn sypynau i'w trosglwyddo i'r felin sydd yn perthyn i bob planigfa. Yn y felin yma, yr hon a weithir gan wynt neu ddwfr, fel y byddo yn gyfleus, gwesgir y coed rhwng olwynion haiarn nes bydd y sudd yn llifo allan. Trosglwyddir ef yn ddioed i ferwedyddon mawr, lle y berwir ef yn gyflym am yspaid o amser. Rhoddir calch gydag ef yn y fan yma er gwrthweithio surni, ac i'w lanhau. Codir y sudd tra yn boeth i badellau bâs, lle, wrth oeri, y mae yn ymffurfio yn fân ronynau fel yr ydym ni yn ei gael. Yna rhoddir ef mewn casciau a thyllau bychain yn eu gwaelod, a bydd yn barod i'r farchnad. Drwy y tyllau hyn rhed allan wlybwr fydd wedi aros gyda'r siwgr. Hwn ydyw triagl masnach.

Yn y sefyllfa yma y dygir ef i Loegr, a hwn ydyw y siwgr coch a werthir yn ein siopau. Ond tuagat ei buro yn fwy a'i wynu ä trwy lawer o driniaethau yn mhellach. Berwir ef drachefn, cymysgir amryw bethau gydag ef er newid ei liw, a rhoddir ef mewn llestri fel y galler tywallt dwfr drwyddo yn raddol er cario ymaith bob anmhurdeb.

I wneyd torthau o siwgr gwyn rhoddir siwgr berwedig mewn llestri pig-fain, a chrasir ef mewn pobtai gyda gwres cymedrol. Lerpwl a Bristol ydyw y trefydd mwyaf nodedig am eu *refineries* siwgr.

Y mae amser cynauaf y siwgr yn adeg brysur iawn. Rhaid gwneyd y gwaith yn fuan, onide ni fydd y cynnyrch gystal. Mewn gwledydd lle mae y llafurwyr yn rhyddion maent yn gweithio o un awr ar bymtheg i ddeunaw awr y dydd yr amser yma, ac, yn Cuba a'r Unol Daleithau, lle y ffyna caethwasiaeth, digon prin y ca y caethion druain fyned i orphwys. Ystyria y caethfeddiannydd hi yn fwy manteisiol iddo ef gael y gwaith i ben yn fuan, serch i'r llafur yru dau neu dri o'i gaethion i'r bedd. Yn wir mae y llafur gyda'r goeden yma bob amser yn fawr ac yn dra afiachus. Mae llawer mwy o gaethion yn marw ar y planigfeydd siwgr nag ar y rhai lle y tyfir cynnyrchion ereill. Credir fod deng mil ar hugain o gaethion yn cael eu glanio yn ynys Cuba yn unig yn flyneddol, er fod llywodraeth Hispaen wedi ymrwymo dileu y gaethfasnach. Gofidus ydyw meddwl mai cynnyrchiad ein cysuron ni ydyw achlysur llawer o'r trueni yma.

Y mae o wyth i naw can miliwn o bwysau o siwgr yn dyfod i mewn i'r deyrnas yma yn flyneddol, a chynnyrcha y doll sydd arno bum miliwn a haner o bunnau i'r Llywodraeth. Rhydd hyn ar gyfartaledd agos i ddeg pwys ar hugain o siwgr yn flyneddol i bob un o'r trigolion.

Fel y dywedasom yn nechreu ein hysgrif, mae rhyw faint o siwgr mewn llawer math o goed. Yn amser Napoleon, tra yr oedd y rhyfel ofnadwy wedi para yn hir, Ffrainc wedi colli ei rhyfel-longau, a Phrydain yn "feistrês y moroedd," bu raid i'r Ffrancod droi i wneyd siwgr o *beet-root*, yr hwn oedd yn tyfu yn eu gwlad eu hunain. Ond nid oedd hwn gystal na chan rhated a siwgr tramor; ac mor fuan ag yr agorwyd eu porthladdoedd darfu am y siwgr *beet-root*. Mae trigolion yr Unol Daleithau hefyd yn cael siwgr o rywogaeth o winiolen (*sugar-maple*). Mae y coed yma yn lluosog iawn yn y coedwigoedd yno. Torir tyllau bychain yn agos i fôn y goeden, trwy y rhai y rheda y sudd allan. Ca hwn yr un triniaethau a sudd y goeden siwgr. W. E.

---

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

[CWYNA llawer nad ydyw y wasg yn gwneyd ei rhan yn ddyladwy gyda'r achos Dirwestol yn y dyddiau hyn,—nad ydyw yn dyweyd dim braidd drosto, er fod meddwdod yn dyfod yn fwy cyffredinol, a'i effeithiau gwenwynig yn llesteirio ein cynnydd mewn masnach, gwladyddiaeth, addysg, a chrefydd. Y mae rhai cymdeithasau galluog a llafurus dros ben yn Lloegr ac Ysgotland yn ymosod o ddifrif yn erbyn y fasnach feddwol—o'r cyfryw y mae y "London Temperance League," a'r "Scottish Temperance League" i'w nodi, yn dra blaenllaw. Y mae y naill a'r llall o'r cymdeithasau hyn wedi cyhoeddi lluaws o bamphletau a thraethodau gwasanaethgar i'r achos, a dywedir eu bod yn dra llwyddiannus i wneyd daioni annhraethol yn mysg y werin. Bwriadwn wneyd defnydd o un o'r traethodau a gyhoeddwyd yn ddiweddar gan y "S. T. League," yr hwn sydd ar ffurf chwedl, trwy ei gyhoeddi yn bennodau bychain, fel y caniatâ ein gofod, gan obeithio y bydd iddynt wneyd lles hefyd yn Nghymru.]

Y NOSWAITH GYNTAF.

Oddeutu deng mlynedd yn ol, yr oedd fy masnach yn galw am i mi fyned i Cedarville. Yr oedd yn hwyr brydnawn pan gyrhaeddodd y cerbyd y "Black Lion," tafarn newydd ei hagor, mewn tŷ newydd a adeiladwyd i'r pwrpas o dderbyn a diwallu dyn ac anifail. Wedi disgyn ac ymysgwyd o'r llwch oedd hyd fy nillad, ac yn teimlo fy hun yn lled luddedig ar ol fy nhaith, yr oedd gwyneb llawen croesawgar Simon Slade, y tafarnwr, yn olygfa ddymunol i mi,—yr oedd yn gymwynasau i gyd, a gwasgai fy llaw fel hen gyfaill cywirgalon.

Wedi fy arwain i ystafell lân, brydferth, wedi ei dodrefnu yn y modd gore, yr oeddwn yn teimlo yn falch fy mod wedi taro ar le mor hapus i orphwyso a bwrw fy lludded.

"Wel yn siwr y mae hon wedi ei gosod allan yn dda," meddwn, gan edrych o amgylch yr ystafell,—y nenfwd cyn wyned a'r eira, a'r llawrleni yn ysblenydd. "Welais i ddim lle i fyny â hwn eto. Er's pa bryd yr ydych wedi agor?"

"'D oes ond ychydig fisoedd," atebai'r tafarnwr. "Ond nid ydym eto wedi cael pobpeth i drefn dda. Y mae yn gofyn amser, fel y gwyddoch, i gael pobpeth i'w ffurf briodol. A ydych chwi wedi ciniawa, syr?"

"Naddo. Yr oedd pobpeth yn edrych mor fudr yn y dafarn yr oedd y cerbyd yn stopio bryd ciniaw, fel nad oedd genyf fi chwaeth i fwyta yno. Pa bryd y bydd eich swper yn barod?"

"Yn mhen yr awr," oedd yr ateb.

"Gwnaiff hyny'r tro. Parotowch i mi ychydig o *beef steaks*, ac anghofiaf fy ngholled o giniaw yn fuan."

"Chwi a'i cewch, wedi ei goginio yn fit i frenin hefyd," ebai'r tafarnwr. "Yr wyf yn galw fy ngwraig y gogyddes oreu yn Cedarville."

Tra yr oedd yn siarad daeth geneth harddeg, oddeutu un-ar-bymtheg oed, i mewn. Wedi cael ei neges aeth ymaith yn ddiaros.

"Fy merch yw hi, syr," meddai'r tafarnwr, mor fuan ag y gwelodd ei chefn yn myned trwy'r drws. Yr oedd rhywbeth yn llais ac edrychiad y tad pan y dywedodd "fy merch," yn peri i mi gredu fod ganddo feddwl mawr o honi, a'i bod yn agos iawn at ei galon.

"Yr ydych yn ddyn hapus fod genych y fath angyles yn blentyn i chwi," meddwn inau.

"Ydwyf, yr ydwyf yn ddyn hapus," atebai'r tafarnwr, gan wenu'n siriol. Ychydig o ôl gofalon a gofidiau'r byd oedd arno ef,—yr oedd ei wyneb yn deg ac yn llawn. Ychwanegai "yr wyf fi yn wastad yn hapus. Byddaf fi yn cymeryd y byd fel y daw, ac yn ei gymeryd yn esmwyth. Fy mab, syr," meddai am fachgenyn deuddeg oed a ddaeth i'r ystafell. "Siaradwch â'r gwr boneddig."

Cododd y bachgen bâr o lygaid gleision mawrion tuagataf, yn y rhai yr oedd diniweidrwydd yn nofio, ac estynai i mi ei law, a gofynai yn foesgar "Sut yr ydych chwi, syr?" Yr oedd golwg cyflym a chwareugar y bachgen yn tynu fy sylw yn fawr.

"Beth yw eich enw?" gofynais.

"Frank, syr."

"Frank ydyw ei enw," meddai ei dad; "galwasom ef felly yn ol enw ei ewythr. Frank a Flora—ïe, dyna enwau ein plant ni, syr."

"Frank, mae yna rywun wrth y *bar*. Gallwch chwi dendio arno cystal a minau."

Cyflymodd y bachgen o'r ystafell mewn ufudddod parod.

"Bachgen sharp yw 'nyna syr—sharp iawn. Y mae cystal yn y *bar* ag un dyn. Cymysga *toddy* neu *punch* cystal a minau.

"Ond onid oes lle i chwi ofni wrth roi un mor ieuanc yn y fath le temtiedig?"

"Lle temtiedig!" Disgynodd aeliau Simon Slade wrth fy nghlywed "Nac ydwyf fi ddim yn ofni y fath beth," meddai, gyda phwyslais neillduol. "Yr wyf yn cyfrif fy arian mor ddiogel dan ei ofal ef a nebun. Y mae y bachgen yn dyfod o rieni gonest. Ddarfu Simon Slade dwyllo neb o ffyrling erioed."

"O!" meddwn inau yn brysur, "yr ydych wedi fy ngham ddeall i yn hollol Nid oeddwn yn cyfeirio at yr arian, ond at y ddiod."

Adfeddianodd wyneb y tafarnwr ei wenau llongar eilwaith.

"'Does dim i'w ofni oddiwrth hyny, gallaf eich sicrhau. 'Does gan Frank ddim chwaeth at wirod; ni welodd neb mhono yn eu harchwaethu er pan ydym yma. 'Does dim i'w ofni oddiwrth hyny, syr, dim."

Yr oeddwn yn gweled na buasai sylwadau pellach yn y ffordd hon yn boddio dim ar y tafarnwr, felly tewais. Daeth galwad ar Simon Slade i fyned at ryw deithiwr oedd yn dyfod i mewn. Yr oedd fy ystafell yn ymyl y *bar*, ac yr oeddwn yn gallu gweled, trwy y ddor agored, y dyn ag yr oedd y bachgen yn ei dendio. Bachgen ieuanc trwsiadus ydoedd,—oddeutu un-ar-bymtheg oed—o edrychiad talentog a hawddgar. Codai ei wydriaid at ei enau yn awchus, ac yfai ef ar un dracht gydag aidd a chyflymder.

"Just y peth," meddai, gan daflu chwechcheiniog i'r gwirod-werthydd ieuanc. "Yr ydych yn un campus am *brandy-toddy*. Yfais i mo'i well yn fy mywyd."

Dangosai wyneb siriol Frank fod y ganmoliaeth yn felus ganddo. Ond yr oedd yr olygfa i mi yn un dra phoenus—oblegid gwelwn fod y bachgen ieuanc mewn lle peryglus.

"Pwy yw y gwr ieuanc yna sydd yn y *bar*?" gofynais i'r tafarnwr mor fuan ag y dychweloedd

O! mab ydyw i'r Barnwr Hammond, yr hwn sydd yn byw yn y palasdy oeddych yn basio ar eich dyfodiad i mewn i'r dref. Willy

Hammond, fel yr ydym oll yn arfer ei alw, ydyw y gwr ieuanc hawddgaraf yn y wlad. Nid oes dim yn uchel a balch o'i ddeutu—dim —er fod ei dad yn farnwr, ac yn meddu cyfoeth mawr. Y mae pawb—tlawd a chyfoethog —yn hoffi Willy Hammond.

"Mr. Slade," bloeddiai rhywun o *front* y tŷ; felly gadawodd y tafarnwr fi i fyned i wylio rhyw newydd-ddyfodiad. Aethym inau i'r *bar-room* er mwyn cael golwg fanylach ar Willy Hammond, yn yr hwn yr oeddwn eisoes yn teimlo cryn ddyddordeb. Aeth yn ymgom ddorus rhwng Hammond a rhyw ffarmwr. Cyn hir deallais yn well paham y canmolai y tafarnwr gymaint ar Hammond ieuanc.

"Gymerwch chwi wydriaid o *brandy-toddy*, Mr. H.——?" gofynai Willy. "Wel, gadewch i mi ei gael," atebai y ffarmwr.

"Yn awr, Frank, 'machgen i, gadewch i ni gael eich gore i gyd."

"Dau wydriad o *brandy-toddy* ddywedasoch chwi, syr?" gofynai Frank yn bur hen ffasiwn.

"Ië siwr, dyna'r hyn elwais am dano, bydded iddynt fod yn rhagori ar nectar Iau."

Wedi ei foddio gan ffraethineb a rhyddfrydedd Hammond, prysurai Frank i gymysgu y *toddy*.

Dyna'r glasieidiau ar y counter. "Yn awr," meddai Willy, "os na chyfrifwch chwi hwn yn gampus, rhaid i mi ddyweyd nad ydych chwi yn farnydd"—ac estynai un ohonynt i'r ffarmwr. Canmolai'r ffarmwr y *toddy* yn fawr. Yfodd Willy, fel y nodais o'r blaen, yn awchus iawn, fel un mewn syched mawr.

Gwaghaodd y *bar-room* yn fuan wedi hyn, aethym inau gyda'r tafarnwr oddeutu'r buarthau a'r 'stablau, gan wrando arno yn canmol pob peth.

"Pa beth bynag fyddaf fi yn ei wneyd, byddaf yn hoffi ei wneyd yn iawn," meddai. "Ddygwyd mo honof fi i fyny yn dafarnwr, deallwch; ond yr wyf yn un all droi ei law at beth fynoch chwi braidd."

"Beth oedd eich busnes?" gofynais. "Melinydd oeddwn, syr," atebai, "a gwell melinydd na mi, er mai fi sydd yn dweyd, nis gallasech ei gael yn swydd Bolton. Dilynais yr alwedigaeth o felinydd trwy yr ugain mlynedd diweddaf, a chesglais dipyn o arian. Ond blinais ar weithio yn galed, a meddyliais am gael byd mwy esmwyth; ac felly gwerthais y felin, ac adeiledais y tŷ hwn gyda'r arian. Yr oeddwn yn wastad yn meddwl y buaswn yn hoffi tafarn. Bywyd esmwyth ydyw; ac os gofelir am y busnes, yr ydych yn siwr o wneyd arian gydag ef."

"Yr oeddwch hyd y diwedd yn para i wneyd yn dda gyda'r felin?"

"O! oeddwn; pa beth bynag a wnaf yr wyf yn ei wneyd yn iawn, atebai. "Y flwyddyn ddiweddaf, rhoddais heibio, wedi talu pob costau, 500p. Nid drwg iawn oedd hyny oddiwrth felin mewn gwlad fel hon. Os daw y melinydd presennol drwodd yn ddi-ddyled, fe ddaw yn dda."

"Pa fodd hyny?"

"O! 'dyw e ddim yn felinydd. Rhoddwch iddo y gwenith gore sy'n tyfu, y mae yn ei ddyfetha yn llwyr."

"Dylasai elw o 500p. mewn masnach mor ddefnyddiol eich boddloni," meddwn inau.

"Dyna lle'r ydych chwi a minau yn gwahaniaethu," atebai'r tafarnwr. "Y mae dyn yn dymuno gwneyd cymaint fyth ag a fedr o arian, a hyny ar cyn lleied fyth fydd bosibl o lafur. Yr wyf yn dysgwyl gwneyd 1,000p. yn flyneddol, ar ol talu pob costau, gyda'r dafarn. Y mae yn naturiol i ddyn gyda gwraig a phlant wneyd ei oreu ar eu rhan.

"Gwir iawn; ond a fydd hyny cystal i chwi a phe buasech yn aros yn y felin?"

"Mil o bunnau yn erbyn pum cant! Lle mae eich ffigyrau chwi, ddyn?"

"Wel, ie, ond y mae rhywbeth heblaw arian i'w gymeryd i ystyriaeth," meddwn inau.

"Beth?" gofynai Slade.

"Ystyriwch y gwahaniaeth parch a dylanwad sydd i'r ddwy alwedigaeth mewn cymdeithas."

"Wel, ewch yn mlaen."

"A fydd eich plant mor ddiogel rhag temtasiynau yma, ag y buasent yn eu hen gartref?"

"Yr un fath yn union," oedd yr ateb; "paham lai?"

Yr oeddwn yn meddwl cyfeirio at ymddygiadau Frank yn y *bar*, ond wrth gofio fy mod braidd wedi digio Slade gyda hyny o'r blaen, a'i weled yn lled gynhyrfus yn awr, meddyliais na byddai hyny yn ateb un dyben.

"Y mae tafarnwr," meddai Slade, "mor anrhydeddus bob tipyn a melinydd; yn wir, mae y bobl fyddai yn arfer fy ngalw yn 'Simon' a'r 'Siaced wen,' yn fy ngalw i yn awr 'Mr. Slade,' ac yn ymddwyn tuagataf yn fwy anrhydeddus nag erioed.

"I'r cyfnewidiadau yn eich bywyd y mae i chwi gyfrif hyny," meddwn inau. "Y mae dynion yn bur chwanog i dalu gwarogaeth i'r arianog. Wedi i chwithau adeiladu y tŷ yma, a'i osod i fyny mor wych, y daeth y bobl, o bosibl, i ddeall eich bod mor gyfoethog."

"Nid dyna'r cwbl," meddai'r tafarnwr. "Yr achos yw, fy mod yn cadw tŷ da, ac y bydd hyny yn sicr o fod yn fanteisiol i lwyddiant Cedarville, trwy hyny y mae ein boneddigion penaf yn edrych arnaf yn wahanol i'r hyn oeddynt."

"Mantais i lwyddiant Cedarville! yn mha fodd?" Nid oeddwn yn deall pa beth a feddyliai.

"Y mae tafarn dda yn wastad yn tynu llawer o bobl i'r lle y bydd; pryd y mae tafarnau isel, budron, a didrefn, fel y rhai oedd genym ni yma gynt, yn eu cadw draw. Gallwch yn gyffredin

ddyweyd cyflwr tref wrth yr olwg fydd ar ei thafarnau. Os byddant yn cael eu cadw yn dda, ac yn gwneyd llawer o fusnes, gellwch benderfynu fod y dref yn llwyddo. Er pan adeiledais y Black Lion y mae eiddo yn Cedarville wedi codi eu gwerth ugain punt y cant. Adeiladwyd yma bump o dai newyddion ar ol hyny."

Rhaid i chwi briodoli hyny i rywbeth heblaw i agoriad tafarn newydd."

"Nid wyf fi yn gwybod am un achos arall. Dywedai y Barnwr Hammond wrthyf y dydd o'r blaen fod Cedarville o dan ddyled mawr i mi am fy ngwaith yn agor y tŷ hwn."

Ataliwyd ein hymddyddan ar hyn trwy i ni gael ein galw i swper. Pan yn myned i mewn i'r ystafell gwelais Mrs. Slade am y waith gyntaf. Dynes hardd olygus—eisteddai sirioldeb a thawelwch ar ei gwedd; yr oedd arwyddion o synwyr da a thymherau rhadlon yn prydferthu ei hedrychiad yn fawr.

Wedi gwneyd cyfiawnder â'r arlwy ddanteithus oedd o fy mlaen, aethym i un o'r goruwch-ystafelloedd i ddarllen y newyddiaduron ac i ymddadluddedu ychydig.

## YR ADFYWIAD CREFYDDOL YN SIR ABERTEIFI.

MYNED rhagddo gyda nerth a dylanwad mawr y mae y "diwygiad" yn y sir hon; y mae yn eglur i bob llygad fod Duw yn ymweled â'i bobl ac yn bendithio ei etifeddiaeth. "Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion, am hyny yr ydym yn llawen." Nid oes neb byw yn cofio y fath olygfeydd ar gynnulliadau, a'r fath ddylanwad ar galonau y gwrandawyr. Y mae gwyrthiau yn cael eu cyflawni yn nhroedigaeth llawer, ac y mae cyfnewidiadau mawrion yn mywyd ac ymddyddanion pawb. Rhy dueddol oeddid i feddwl a siarad am bethau y bywyd hwn ar y Sabbothau, ond erbyn heddyw, nid yn unig cedwir y Sabboth at bethau y Sabboth, ond pethau y Sabboth yw y pethau a ryfeddir ac a siaredir am danynt drwy yr wythnos. Unwaith eto y mae sain cân a moliant yn dyspedain muriau hen gapel Llangeitho—yn y llwybrau gynt, yr hen fangrëoedd cysegredig, lle bu tyrfaoedd Rowlands yn crynu ac yn llewygu, fe glywir ocheneidiau ac wylofain chwerw y genedlaeth hon. Galar am bechod, a gorfoledd am iachawdwriaeth, ydynt y seiniau cymysg oddeutu beddrod Richards, Tregaron.

Nis gallwn roddi cyfrif heddyw am y chwanegiadau at yr eglwysi yn y gwahanol ranau o'r sir—y mae cryn amser er pan glywsom o rai manau; ond hyderwn y bydd genym erbyn ein rhifyn nesaf grynodeb o'r hanes drwy y sir, a pha faint sydd wedi eu chwanegu at yr eglwysi, &c., &c. Bydd yn dda genym dderbyn pob hysbysrwydd am hyn oddiwrth ein gohebwyr erbyn dydd Sadwrn, wythnos i ddiwrnod y cyhoeddiad.

## Y WASG.

*Caniedydd y "Band of Hope;" gyda Chyfarwyddiadau i'w ffurfio.* Gan y Parch. Thomas Levi. Abertawe: D. Griffiths.

Y MAE yn llawenydd mawr genym weled llyfryn mor fuddiol a phwrpasol wedi ei gyhoeddi at wasanaeth y "Band of Hope"—cymdeithas sydd yn y dyddiau hyn yn lluosog ac yn addawol iawn i wasanaeth a llesiant plant ieuainc Cymru. Y mae yn hyfrydwch calon genym ei gymhell i ymarferiad yn yr holl gymdeithasau hyn. Dywedir fod gan farddoniaeth ran helaeth iawn yn ffurfiad nodweddion a moesau cenedl; dyma'r caneuon, ynte, i nawseiddio a delweddu enaid a chalon yr oes sy'n codi. Y fath fendith i'n gwlad fyddai i foesoldeb a chrefyddoldeb y penillion yma i fod yn egwyddorion cryfion a bywiog yn nghymeriadau ein plant! Yr ydym yn erfyn ar ran rhinwedd, dirwest, a chrefydd, ar i rieni ac athrawon brynu a dysgu y "CANIEDYDD" i'r ieuenctyd.

## Y DYLANWAD.

Pan y myn y daw,
Fel yr enfys a'r gwlaw,
Fel odlau yr ëos ger y gwyrddaf lyn draw:
Nid mwy annibynol y seraph y sydd
Yn disgyn ar donau diweddaf y dydd,
Pan fyddo'r gorllewin, rhwng huan a môr,
Fel i dragwyddolfyd yn ffurfio y ddôr.

Pan y myn y daw!
Fel y sêr dros adfail y cwmwl draw
Yn llwyr annibynol ar amser islaw:
Pan y myn, heb orfodaeth na dyled i'r byd,
Pan y myn, fel pethau y Nefoedd i gyd!

Nid felly y môr
Sy iddo'i reolau, ei ddeddfau, a'i ddôr:
Mae ei lanw a'i drai yn curo o hyd
Fel dringlyn mawr amser, yn nghlyw yr holl fyd:
O ganrif i ganrif mynegir adegau,
Ac eiliad fanylaf ei holl ymweliadau.

Nid felly yr haul
Sy i amser yn sail,
A'r oriau a'r eiliadau i'w gysgod yn gail.
Mae yr Alp sydd yn rhew tragywyddol o hyd
Ac yn wŷn o fraw fyth gan ei bellder o'r byd,
Yn gwybod y funud y cyfyd o fôr
Tywyllwch y dwyrain, fel wyneb yr Ior;
A'r adar a wyddant, gan ddeffro'r un eiliad,
I chwyddo pêr udgorn y byd-adgyfodiad.

Dylanwad yr Awen,
Y pruddaidd a'r llawen,
Mae yn hŷn yn ei darddiad na'r sêr borau fu
Yn canu uwch bydoedd dwyreod di ri:
Mae'n ddyfnach o Dduw na'r moroedd didraul
O ddyfroedd; mae'n gwawrio lle machlud yr haul!

Fel yr enfys y daw,
Fel arwydd cyfammod tragwyddol wnaed draw
Rhwng Meddwl a Duwdod, pan araf ddychwelai,
Môr mawr tragywyddoldeb hyd nes ymddangosai,
Mynyddoedd pell amser, ac Arch y meddyliau,
Tragwyddol yn disgyn yn iach ar eu banau.

ISLWYN.

yn yr iaith briodol, yn nghyda'r cynnwysiad, a beirniadaeth yr esbonwyr goreu.

Gellir dyweyd am y rhai hyn iddynt "redeg yn dda"—iddynt wneuthur defnydd mawr o'u hamser i "chwilio yr ysgrythyrau." Bydd i ddiwydrwydd y rhai hyn gondemnio miloedd o grefyddwyr a deiliaid yr Ysgol Sabbothol yr oes hon yn y farn fawr. Gan fod cymaint cwmwl o dystion yn sylwi arnom yn rhedeg yr yrfa ysbrydol, "chwiliwn beunydd yr ysgrythyrau"—ein bywyd fyddo yn cydweddu â'r gwirionedd, fel y byddo i'w gynnwysiad fod yn ddefnydd cysur i ni wrth fyw, ac fel creigiau tragywyddol o dan ein henaid pan y byddom yn marw.

JENKINS.

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

### Y NOSWAITH GYNTAF.

NI bum yn hir yn fy ystafell gyda'r newyddiaduron cyn clywed swn a therfysg mawr yn y *bar-room*, ac aethum yno i weled beth oedd yn myned yn mlaen. Y person cyntaf a welais yno ydoedd Willy Hammond; siaradai gyda dyn arall, yr hwn oedd yn henach o flynyddoedd nag efe. Yr oedd gwahaniaeth mawr yn edrychiad y naill a'r llall—nid ymddangosai i mi fod yno un gronyn o gydweddiad rhyngddynt. Tra yr oedd haelfrydedd, rhadlonrwydd, a sirioldeb ar wedd Hammond, gorseddai llechwriaeth a hunanoldeb ar wyneb yr hwn a siaradai âg ef. Nis gallai dau mor wahanol byth wneyd cyfeillion â'u gilydd yn unman ond mewn tafarn. Deallais mai enw y dyn hwn ydoedd Harvey Green, a'i fod yn arfer ymweled yn achlysurol â Cedarville.

Yn atebiad i gwestiynau a ofynais i Simon Slade yn nghylch y dyn hwn, dywedodd, "Y mae un peth ynddo sydd yn bur ddymunol genyf fi—y mae ganddo ddigon o arian, ac y mae yn bur ffri i'w gwario. Arfera ddyfod yma, unwaith neu ddwy yn y flwyddyn, er's blynyddoedd: ond ni byddai yn aros fawr yma, oblegid fod y dafarn lle yr arferai roi i fyny mor aflêr ac annghyfforddus. Ond yn awr y mae wedi cymeryd un o'n hystafelloedd gore, am yr hon y mae wedi setlo i dalu swm mawr yn flyneddol. Nid ydyw yn gwario dim llai na 100p. yn ein pentref bob tro y mae yn dyfod yma Dyna i chwi un esiampl i ddangos gwerth tafarn dda.

"Beth ydyw ei fusnes?" gofynais, "A oes ganddo ran mewn rhyw weithiau y ffordd hon?"

Cododd y tafarnwr ei ysgwyddau ac ysgydwodd ei ben, ymddangosai mewn penbleth, nid oedd yn leicio'r cwestiwn; ond o'r diwedd dywedodd,—

"Ni byddaf yn arfer holi yn nghylch busnes neb. Fy musnes i ydyw rhoddi i bawb yr hyn a ofynant os talant am danynt. Fel melinydd ni byddwn yn gofyn i'm cwsmer pa un ai tyfu, neu brynu, neu ladrata ei wenith a ddarfu—fy ngwaith i oedd ei falu. Felly gyda thafarn, fy nyledswydd i yw meindio fy musnes fy hunan."

Heblaw Hammond a Green yr oedd yno bedwar arall yn y *bar-room*. Un ohonynt oedd y Barnwr Lyman—felly y gelwid ef—dyn rhwng deugain a haner cant oed, yr hwn yn ddiweddar oedd wedi ei ddewis dros y Weinidiaeth yn aelod o'r Wladgynghorfa. Yr oedd yn bur siaradus, yr oedd yn medru cadw digon o ddyddordeb a bywyd yn y gymdeithas. Yn mysg ereill o destynau eu hymddanion yr oedd agoriad y dafarn newydd.

"Yr hyn sydd yn rhyfedd genyf fi," meddai Barnwr Lyman, "yw, na buasai rhywun wedi gweled cyn hyn y priodoldeb o gael tafarn dda yn Cedarville, a digon o blyc i'w chodi. Yr wyf fi yn barod i roi y flaenoriaeth i'n cyfaill Slade arnom oll—y mae yn gweled yn mhellach na'r un ohonom; meindiwch chwi yr hyn ydwyf yn ddyweyd yn awr, Slade fydd y cyfoethocaf yn Cedarville ddeng mlynedd i heddyw—ïe, nid yn Cedarville yn unig, ond yn yr holl swydd."

"*Nonsense*—ho! ho!" meddai Simon Slade, gan chwerthin yn harti. "Y dyn cyfoethocaf! Yr ydych wedi anghofio Barnwr Hammond."

"Nac ydwyf ddim yn anghofio Barnwr Hammond, gyda phob parch i'n cyfaill serchog Willy," meddai Lyman, gan wenu ar y bachgen.

"Os aiff ef yn gyfoethocach rhaid y bydd rhywun yn dlotach," ebai rhyw lais newydd yn yr ymgom—nid oedd y dyn a ddywedodd hyn wedi siarad o'r blaen. Sylwais fod gwedd Slade wedi cyfnewid, yr oedd ei nwydau wedi eu cyffroi i raddau. Ond ni chymerodd neb sylw o'r hyn a ddywedodd y dyn, ond parodd hyn osteg am ychydig, ac ymddangosai y dyn fel yn mwynhau yr effaith a gafodd ei ddywediad. Yn mhen ychydig, aeth yr ymddyddan eilwaith yn mlaen.

Os na bydd ein cyfaill parchus Mr. Slade y dyn cyfoethocaf yn Cedarville yn mhen deng mlynedd," ebai Harvey Green, "geill ymfalchïo y bydd wedi gwneyd ei dref yn gyfoethocach."

"Gwir ydych yn ddyweyd," ebai Lyman. Y fath le marw a difywyd oedd Cedarville hyd o fewn yr wythnosau diweddaf. Yr oedd ein holl fasnach wedi sefyll, ond yn awr yr ydym yn myned rhagom i lwyddiant."

"Ac i'r fonwent hefyd," ebai yr un llais ag a'u rhwystrodd o'r blaen. "Dowch, Simon," meddai wed'yn, gan godi a chroesi y llawr tuagato," rhowch imi lasiad da o *whiskey-punch* poeth; a dyna i chwi chwe cheiniog arall at wneyd eich *fortune*. Dyna y chwechyn diweddaf feddwn—nid oes genyf ddimai eto yn fy mhoced," ac yna trodd ei bocedau tu chwith

allan. "Yr wyf yn ei anfon i gadw cwmpeini i'r pedwar chwech arall a gawsoch genyf heddyw; byddai y pethau bychain yn annghyfforddus heb gwmpeini eu cyfaill hwn eto."

Yr oedd y *whiskey* yn barod yn union; ac aeth y dyn gydag ef i gwr arall yr ystafell. Aeth wedi hyn yn fwy rhydd a pharod i daflu gair i mewn i ymddyddan y cwmpeini; a byddai pob gair a ddywedai yn dyrysu ac yn tramgwyddo y boneddigion yn fawr. O'r diwedd collodd Slade ei amynedd gydag ef, a dywedodd yn lled ddigofus—

"Gwrando, Jo Morgan, os na fedri di bihafio, gwell iti fyn'd i rywle arall, a pheidio ag *insultio* y boneddigion."

"Ha! mi gawsoch fy chwech cheiniog diweddaf onito? meddai Morgan, gan droi ei bocedau tu chwith allan eto. 'Does gynoch chwi ddim eisio fy ngwel'd i yma eto heno. Dyna ffordd y byd. Mor fuan y daeth ein cyfaill y Siaced Wen yn 'sgolar yn ei ysgol newydd! Wel yr oedd yn felinydd da—'does neb fedr wadu hyny; ac y mae yn ddigon eglur ei fod yn meddwl am fod yn dafarnwr da. Yr oeddwn yn meddwl y buasai ei galon yn rhy dyner i fod yn dafarnwr da—ond y fath gynnydd y mae wedi ei wneyd! Os na bydd ei galon yn saith galetach na'r un o'i hen feini malu cyn pen deng mlynedd, nid ydyw Jo Morgan yn broffwyd. O! ddylech chwi ddim gostwng eich aeliau fel yna, fy hen gyfaill Simon: yr yden ni yn hen ffryndiau, ac y mae yn iawn i hen ffryndiau gael siarad yn blaen."

Dymunwn i chwi fyned adre. 'Dydych chwi ddim fel chwi eich hunan heno, " meddai'r tafarnwr, mewn tôn dyner—oblegid gwelai nad enillai ddim wrth gweryla â Jo. Gallai fod fy nghalon yn myned yn galetach," ychwanegai, mewn natur radlon, "ond hwyrach ei bod yn amser. Clywais chwi yn dyweyd lawer gwaith fy mod yn rhy galon feddal."

"'Does dim perygl oddiwrth hyny yn awr," meddai Morgan.

Ar hyn, dyma y drws oddiallan yn cael ei wrthio yn agored yn araf, a thyna wyneb bychan, gwelw, yn edrych i mewn, a phâr o lygaid gleision treiddgar yn edrych o amgylch yr ystafell. Ataliwyd pob ymddyddan yn ebrwydd, ac edrychai pawb yn llawen gan edrych ar y plentyn, yr hwn erbyn hyn oedd wedi dyfod i mewn. Genethig ydoedd, o dan ddeg oed; ond yr oedd yn ddigon i hollti calon undyn i edrych ar ei gwyneb gwelw, a'i hedrychiad tlawd

"Nhad," ebai yr eneth. Ni chlywais erioed mor gair "tad" yn cael ei ddyweyd gyda chymaint o deimlad—yr oedd yn llawn o gariad gofidus Rhedodd y lodes ar draws yr ystafell at Jo Morgan, gafaelodd yn ei fraich, a chododd ei llygaid i'w wyneb, y rhai a ymddangosent fel ar ollwng ffrwd o ddagrau dros ei gwyneb.

"Dowch, nhad bach, dowch adre," meddai. Yr wyf yn dychymygu fy mod yn clywed ei llais y funud hon. Druan bach! Y fath gysgodion tywyll sydd yn gorchuddio awyrgylch bore oes yr angyles fechan!

Cododd Morgan, ac aeth gyda'i blentyn ymaith. Bu gosteg am funud yn yr ystafell ar ol iddynt fyned, ond yn fuan dywedodd Harvey Green, mewn llais oer a dideimlad,—

"Pe bawn i yn eich lle chwi, Mr. Slade, mi giciwn i y gwr yna allan y tro cyntaf y cynnygia ddyfod yma eto. 'Does ganddo ddim busnes yma, yn y lle cyntaf; ac, yn nesaf, nid yw yn gwybod pa fodd i ymddwyn mewn cwmpeini anrhydeddus."

"Dymunwn yn fawr pe cadwai i ffwrdd," meddai Slade, mewn llais gofidus.

"Mi *wnawn* i iddo sefyll i ffwrdd," atebai Green.

"Mae hynyna yn haws i'w ddyweyd na'i wneyd," sylwai Barnwr Lyman. "Y mae ein cyfaill yn cadw tŷ cyhoeddus; ac nis gellir dyweyd pwy gaiff ddyfod i mewn a phwy ni chaiff."

"Ond nid oes gan greadur fel yna fusnes yma. Nid yw ei sort yn dda i ddim. Pe bawn i yn dafarnwr, gwrthodwn i werthu iddo."

"Gallech wneyd hyny," ebai Lyman, "a phe b'ai ein cyfaill Mr. Slade yn gwneyd hyny, ni byddai yn golled yn y byd iddo."

"Fe fyn Morgan wirod tra y gall rywfodd gael arian i'w prynu," ebai rhywun o'r cwmpeini; "ac nis gallaf fi wed'd paham na chaiff Mr. Slade yr elw o werthu iddo cystal a rhywun arall. Y mae Jo yn o dafodrydd weithiau, ond nis gall neb ddyweyd ei fod yn un cwerylgar, yr ydych chwi yn ei gymeryd fel y gwelsoch ef heno; dyna'r cwbl."

"Yr wyf fi yn un," meddai Harvey Green, yn lled gynhyrfus, "na byddaf yn cymeryd i fyny â neb os na byddant yn gwybod sut i actio mewn cwmpeini. Pe bawn i yn lle Mr. Slade, fel y dywedais o'r blaen, mi giciwn i y gwr yna allan y tro cyntaf y cynnygai ddyfod i'r tŷ eto."

"Na wnaech os byddwn i yn agos," atebai y llall, yn bur ddidaro.

Neidiodd Green ar ei draed mewn munud; a fflachiai ei lygaid mileinig, ac aeth rhagddo gam neu ddau at y dyn, a gofynai yn wyllt

"Beth oeddych yn ddyweyd, syr?"

Yr oedd y person yn erbyn yr hwn yr oedd ei lid wedi codi mor sydyn mewn gwisg blaen; edrychai yn debyg i weithiwr. Yr oedd o gyfansoddiad cryf, caled, ac esgyrniog.

"Yr wyf yn meddwl i chwi glywed fy ngeiriau. Siaredais yn eithaf eglur," atebodd y dyn, heb symud na chyffroi o'r lle yr eisteddai.

"Yr ydych yn greadur dwl ac ymyrgar; yr wyf wedi haner fy nhemtio i'ch taro."

Ni chafodd Green ond prin orphen siarad cyn ei fod yn gorwedd ar ei lawn hyd ar y llawr! Neidiodd y dyn arno fel teigar, a chydag un dyrnod tarawodd ef nes oedd yn rhuglio'r llawr. Bu Green ar y llawr am funud mewn syfrdandod, ond toc, gan roddi allan y waedd fwyaf bwystfilaidd a glywais erioed, tynodd gyllell allan o'i logell a chynnygiodd sticio ei wrthwynebydd; ond methodd yn ei gais llofruddiol, oblegid gwelodd y dyn ei fwriad a neidiodd ato, tarawodd ef ar ei fraich nes ei diffrwytho, a neidiodd y gyllell o'i law i ben pella yr ystafell.

"Am 'chydig na thynwn i dy ben di oddiar dy gorff," meddai y dyn, enw yr hwn oedd Lyon, yr oedd erbyn hyn wedi cynhyrfu yn fawr, a llindagodd Green nes oedd ei wyneb can ddued a glöyn; "tynu eich cyllell ataf fi, a? y llofrudd milain!" a gwasgai ef yn dynach.

Daeth y Barnwr Lyman a Slade yn mlaen yn awr i geisio eu rhwystro; cawsant y ddau oddiwrth eu gilydd. Aeth Lyman a Green a Willy Hammond o'r *bar-room*, ac aethant i un o'r ystafelloedd uchaf; felly cefais fy ngadael yn unig gyda Lyon yn y *bar-room*, ac aeth yn ymgom rhyngom; a chefais ganddo lawer o hanes Jo Morgan.

"Druan oedd Jo!" meddai. "Y mae yn hen gyfaill i Simon Slade; yr oeddynt yn brentisiaid gyda'u gilydd yn yr un felin, ac y maent wedi bod gyda'u gilydd trwy eu hoes. Tad Jo Morgan oedd bia'r felin; ac wedi iddo farw daeth y felin yn eiddo i Jo. Aeth Jo i gryn gostau i'w hadgyweirio, ac aeth i beth dyled wrth hyny. Yr oedd Morgan wedi cymeryd Slade ato i weithio. Yn fuan wedi hyny cafodd Slade arian ar ol ewythr iddo; a thrwy ei fod mor gyfeillgar â Morgan, yr hwn oedd mor awyddus am gael clirio y ddyled oedd arno, fe werthodd Jo ran o'r felin i Slade. Modd bynag aeth Morgan yn ddisylw o'i fusnes—gadawai y cwbl yn llaw Simon Slade, yr hwn, rhaid iddo gael y gwir, oedd yn bur ofalus am dano—byddai efe yn wastad yn y felin, ond am Morgan, ni wyddid pa le i'w gael. Wrth i bethau fyned yn mlaen fel hyn, aeth y felin i gyd oll yn eiddo i Slade cyn pen deng mlynedd. Ond er hyn i gyd y mae rhywbeth yn Jo sydd yn peri i bawb ei hoffi—y mae yn bur gymydogol a chymwynasgar.

Oddeutu dwy flynedd cyn colli ei hawl yn y felin fe briododd Morgan un o'r genethod harddaf yn y wlad—Fanny Ellis oedd ei henw cyn priodi—gallasai yn hawdd gael ei dewis o wŷr ieuainc gore yr ardaloedd. Synai llawer iddi gymeryd Morgan, eto ar ryw olwg nid oedd yn rhyfedd yn y byd, oblegid yr oedd o yn fachgen mor serchiadol—efe oedd y reit dyn i enill calon lodes fel Fanny.

"Wel, y mae dyddiau helbul a thlodi wedi ei dal erbyn heddyw druan. Ac eto fe ddywedir, na ddywedodd hi erioed air croes wrth ei gŵr—na ddangosodd hi ddim ond cariad ato, a'r gofal mwyaf am dano. Ac y mae Jo, er ei holl feddwdod, yn ei charu hithau; yr wyf yn sicr na ddywedodd o air croes wrthi yn ei feddwdod erioed. Pe buasai yn ymddwyn felly yr wyf yn sicr y buasai Fanny yn ei bedd cyn hyn. Druan oedd Jo! O 'rwyf yn teimlo dros Fanny! Y fath ddinystr ydyw y meddwi yma onide?"

Yr oedd y dyn wedi twymno drwyddo gan ei deimladau, a siaradai yn hyawdl dros ben.

Yn fuan ar ol i'r Barnwr Lyman, Harvey Green, a Willy Hammond adael y *bar-room*, aeth Slade ar eu holau, ac ni welais ef mwy nes ydoedd yn hwyr y nos. Ei fachgen, Frank, oedd yn tendio'r *bar*.

Pan oedd Lyon yn myned dros hanes Jo Morgan wrthyf sylwais ar un peth a barodd ofid imi. Daeth un dyn at y *bar* a galwodd am lasied o *toddy*—yfodd ychydig o hono, a gadawodd y rhelyw yn y glas ac aeth ymaith. Sylwais ar Frank yn codi hwnw at ei enau ac yn ei yfed mewn brys, fel pe buasai arno ofn i neb ei weled.

Erbyn deg o'r gloch yr oeddwn wedi cael fy ngadael yn unig yn y *bar*, ac ymollyngais i adfeddwl am y pethau a welais yn ystod y noswaith. O bobpeth y meddyliwn am dano, yr hyn a effeithiai yn fwyaf arnaf oedd geneth Jo Morgan. O! yr wyf yn dychymygu y funud hon fod ei gwyneb gwelw o flaen fy llygaid, a thybiaf fy mod yn clywed ei gair—"Nhad"—yn swnio ar fy nghlustiau.

Willy Hammond hefyd! Yr oedd yr hyn a welais ac a glywais am dano yn peri i'm calon ddychrynu wrth feddwl am y peryglon yr oedd ynddynt. O gymaint o hudoliaethau oedd yn ei gylchynu. Y mae o'i flaen gyfoeth, anrhydedd, a digonolrwydd llawnder bywyd uchel ac anrhydeddus; ond yn awr y mae gelyn yn ymosod arno, yr hwn, os na ffy efe oddiwrth y ddiod, a'i hamddifada o'r cwbl a fedd.

Tra'n meddwl am y pethau hyn, clywwn ddrws y *bar-room* yn cael ei agor, daeth yn mlaen ddyn oedranus, ei wyneb âg ol llafur a gofal arno, a'i wallt yn wyn; yr oedd golwg hynod o barchus a boneddigaidd arno. Wedi edrych o amgylch yr ystafell a gweled nad oedd yno ond fy hunan, gofynodd—

"A ydyw Mr. Slade i mewn?"

Wedi i mi ei ateb yn nacaol, daeth Mrs. Slade i mewn trwy y drws arall, a safodd tu ol i'r counter.

"Mrs. Slade, noswaith dda i chwi, ma'm," meddai.

"Noswaith dda, Barnwr Hammond," atebwyd.

"A ydyw Mr. Slade i mewn?"

"'Rwy'n meddwl ei fod," ebai Mrs. Slade. "Rhaid ei fod yn rhywle yn agos."

"Gofynwch iddo ddyfod yma am funud, wnewch chwi?"

Aeth Mrs. Slade allan. Yn mhen oddeutu pum munud daeth Slade i mewn. Yr oedd ei wyneb wedi colli ei sirioldeb a'i foddhad arferol —ymddangosai mewn d'ryswch, methai edrych yn llygaid y Barnwr Hammond, yr hwn a ofynodd iddo, mewn llais isel a gofidus, a oedd ei fab wedi bod yno yn ystod y nos.

"Do fe fu yma," meddai Slade.

"Pa bryd?"

"Daeth yma ychydig wedi iddi dywyllu, ac arosodd yma oddeutu awr feallai"

"Fu o ddim yma ar ol hyny?"

"Y mae yn agos i ddwy awr er pan adawodd o'r *bar-room*," ebai'r tafarnwr.

Ymddangosai Barnwr Hammond yn bur ddyryslyd—yr oedd yn gweled fod Slade mewn rhyw benbleth. Gofynodd drachefn,

"Fu Barnwr Lyman yma heno?"

"Do, fe fu yntau yma."

"Aeth Willy ac yntau allan gyda'u gilydd?"

Daeth y cwestiwn yna yn hollol annysgwyliadwy i Slade—ni wyddai yn iawn pa fodd i ateb.

"Wn i—y—ydw'i'n meddwl iddynt fyned."

"O! felly! Hwyrach ei fod yn nhŷ Barnwr Lyman. Galwaf yno."

Aeth Barnwr Hammond ymaith.

"Ddymunech chwi fyned i orphwys," ebai'r tafarnwr, gan droi ataf fi, a cheisio fforsio gwên ar ei wyneb.

"Os gwelwch yn dda," atebais.

Goleuodd ganwyll a daeth i'm danfon i'm hystafell; yn nghanol fy meddyliau am helyntion yr hwyr ymollyngais i gysgu yn fuan.

Aethum i ffwrdd dranoeth heb weled yr un o'r personau y bu cymaint o'u helynt yn y *bar-room*.

## TREFYDD CYMRU A LLOEGR.

### PENNOD IV.

*Caerlleon Gawr, Caerlleon Fawr, Caerlleon ar Ddyfrdwy, Chester.*—Pe bai rhyw henafiaethwr aiddgar yn ymweled â holl drefydd y deyrnas, i chwilio am olion rhyfeddol y blynyddoedd gynt, am adeiladau a thyrau a safasant yn gedyrn holl gynhyrfiadau y bobl, a thymhestloedd ysgythrog llawer o ganrifoedd, —nis gallai nodi un man yn yr holl ynys mwy teilwng o sylw na dinas digyffelyb Caer. Pan oedd Solomon yn adeiladu y deml yn Jerusalem, a brenines Sheba, o eithafoedd y ddaear, yn ymweled âg ef, i wrando ar leferydd y doethaf o ddynion, yr oedd Lleon Gawr, mab Brutus Darianlas, yn frenin ar yr hen Gymry, yn yr ynys ogleddol hon,—ganrifoedd lawer cyn i bregeth Jonah dreiddio arswyd trwy heolydd Ninifeh,—cyn bod Sarndanaplus yn frenin Babilon, a chyn bod llinach Pharoyddion yr Aipht yn cael eu difrodi dan ddwylaw y Cambyses,—yr oedd Caerlleon yn enw adnabyddus i'r hen dadau Cymreig. Yr oedd Caer ar Ddyfrdwy yn un o'r lleoedd pwysicaf ac enwocaf yn yr holl wlad. Mae rhai ysgrifenwyr,—Syr Thomas Elyot er engraifft,—yn cymeryd arnynt olrhain Caer i ryw henafiaeth pellach o lawer nag amser Lleon Gawr; myn ef fod y ddinas hon unwaith yn myned tan yr enw Neomagus, a'i bod wedi ei galw felly gan frodorion cyntefig Prydain, er coffadwriaeth am Magus, un o wyrion Japheth; ond y mae haeriadau ffol o'r fath hyn,—beth arall fedrwn eu galw?—yn annheilwng o sylw pob hanesydd sydd yn dymuno bod yn gywir a diduedd. Yr ydym yn teimlo yn sicr fod Caerlleon yn un o drefydd cyntaf y cynfrodorion ar dueddau Gwynedd, a'i bod yn brif-ddinas y parth Gwyneddig o'r wlad am oesau lawer cyn amser y Rhufeiniaid. Y mae ceisio olrhain Caer yn mhellach na Lleon Gawr yn ymddangos i ni yn orchwyl i ddychymyg hedegog ar "*ddim awyrol*," ac nid i farn onest a phwyllog, ar dir sylweddol rheswm.

Ethelred, ar ol lladd deuddeg cant o fynachod ac ysgolêigion Bangor, yn enill Caerlleon oddiar y Cymry .................................... 607

Ethelfleda, merch Alffred Fawr, yn adferu y caerau, ac yn ailgodi yr adeiladau ......... .. 907

Y Daniaid yn enill y ddinas, ac yn ei meddiannu am beth amser.............................. 908

Y Cymry yn gwarchae o'i hamgylch, yn ailfeddu Caerlleon, ac yn ei chadw am rai blynyddoedd oddiwrth y Sacsoniaid, oddeutu...... ........................................ 915

(Meddiannwyd a chollwyd hi amryw weithiau gan y Cymry a'r Sacsoniaid yn y blynyddoedd hyn).

Caer yn syrthio i ddwylaw Egbert ....... ....... 924

Hugh Lupus yn Iarll, ac mewn effaith yn frenin sir Gaer, yn meddu yr un awdurdod yma ag oedd gan Wilym y Gorchfygwr ar diriogaethau ereill .............. ..... .......... 1066

Diwedd penaduriaeth leol teulu Hugh Lupus yn y seithfed Iarll Normanaidd John Scot... 1237

(Yna daeth Caerlleon yn rhan o deyrnas Harri III., yr hwn a roddodd y teitl o Iarll Caer i'w fab henaf. Y mae y teitl hwn wedi parhau yn nglyn âg etifedd y goron o'r amser hwnw hyd yn awr. Y mae y Tywysog Cymru presennol yn meddu yr un teitl)

Y Cymry, dan Llywelyn, yn gwarchae y dref, ac yn llosgi rhan helaeth o honi .............. 1257

Edward I. yn dyfod i Gaer, er mwyn gwysio Llywelyn i dalu gwarogaeth iddo; ond nid oedd y Tywysog Cymreig mor hyblyg ei liniau, ac fe nacaodd ufuddhau i ddymuniadau uchelfrydig y gormeswr trahaus .............. 1276

Mewn canlyniad i hyn, fe ddigllonodd Edward I., ac fe ddanfonodd ei lengau i Gymru, y flwyddyn ddylynol, i ddarostwng Castell Rhuddlan ....................................... 1277

Codi yr hen Dee Bridge ............................ 1280

Edward I. yn pasio trwy Gaer ar ei ffordd i ostegu gwrthryfel Madog ....................... 1294

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

### YR AIL NOSWAITH.

YN mhen blwyddyn yr oedd fy musnes yn galw am i mi fyned i Cedarville drachefn; cefais yr un croesaw siriol ar fy nerbyniad eto y waith hon yn y "Black Lion." Ar yr olwg gyntaf nid oeddwn yn gweled nemawr wahaniaeth yn mhryd a gwedd Simon Slade, y tafarnwr. Gydag ag ef yr oedd y flwyddyn wedi pasio megys diwrnod hafaidd. Yr oedd ei wyneb yn wridgoch a llawn, a boddlonrwydd a thymher dda yn cartrefu ar ei edrychiad. Yr oedd pobpeth o'i ddeutu fel yn dyweyd—Y mae yn *all right* gyda mi.

Cefais fy hun unwaith drachefn yn yr ystafell brydferth, ddodrefnus, y bum ynddi pan yno o'r blaen. Ha! meddwn wrthyf fy hun, pa sawl gwaith y meddyliais i gyda gofid am Jo. Morgan, Willy Hammond, a Frank, er pan y bum yma o'r blaen! Y fath demtasiynau yr oeddynt ynddynt. Ni chefais ond prin ddechreu meddwl am y pethau hyn cyn clywed Simon Slade yn bloeddio wrth y drws—

"Yr unig ddyn yr oeddwn yn meddwl am dano."

"Mae yr hen ddywediad yn bur wir," atebai rhyw lais oeddwn yn adnabod debygwn i.

"Ydych chwi yn cyfeirio at yr hen Harri?" ebai Slade.

"Ydwyf."

"Ydyw yn wir llyth'renol y tro yma," meddai'r tafarnwr, "os nad y d——l ei hun ydych, nis gallwch fod yn un perthynas pellach na brawd iddo."

Dilynwyd hyn gan chwerthin mawr; ni chlywais chwerthin mor annaturiol—mor annhebyg i chwerthiniad dyn erioed; yr oedd yn debycach o lawer i ebychiadau bwystfilod.

Pwy allai fod yn siarad â Slade tybed, ymsyniwn—yr oeddwn yn cofio ei lais. Aethum i'r *bar-room*, a gwelwn wrth borth y tŷ wyneb anhawddgar Harvey Green.

Daeth Green yn mlaen at y *bar*, aethum inau i'r porth at Simon Slade.

"Sut y mae y 'Black Lion' yn dyfod yn mlaen?" gofynais.

"Da iawn," oedd yr ateb—"campus."

"Cystal ag yr oeddych yn dysgwyl?"

"Gwell."

"Yr ydych yn foddlon ar eich bywyd?"

"Yn berffaith; allech chwi mo nghael i yn ol i'r hen felin pe gwnaech anrheg ohoni i mi."

"Beth am y felin? sut y mae y melinydd newydd yn dyfod yn mlaen?"

"*Just* fel yr oeddwn yn dysgwyl."

"Dim yn gwneyd yn dda?"

"Sut y gellid dysgwyl hyny tra nad ydyw y dyn yn gwybod sut i falu un peced o ŷd. Y cwbl am dani yw hyn,—rhaid iddo roi y busnes i fyny, a gwerthu y felin gyda cholled drom."

"Pwy pia hi?"

"Barnwr Hammond yw y perchenog."

"Ei rhentu hi a wneiff o wed'yn mae'n debyg."

"Na, 'rwyf yn credu ei fod yn meddwl ei throi yn ddistylldŷ. Mae y wlad hon, fel y gwyddoch, yn cynnyrchu grawn rhagorol. Os try efe hi yn ddistylldŷ y mae yn sicr o'i gwneyd hi yn gampus. Y mae grawn wedi bod yn rhy isel ei bris yma drwy'r blynyddoedd, y mae y ffarmwyr yn teimlo hyny, ac y maent yn cael eu boddio yn fawr yn y drychfeddwl. Yr oeddwn i yn meddwl yn wastad fod fy melin i yn help fawr i'r ffarmwyr, ond beth oedd fy melin i i'w chymharu â distylldŷ mawr—dim."

"Y mae Barnwr Hammond yn un o'ch dynion cyfoethocaf onid ydyw?"

"Ydyw, efe yw y cyfoethocaf yn y sir; a chwaneg, y mae yn un sydd yn gweled yn mhell,—gŵyr sut i ddyblu ei gyfoeth."

"Sut y mae ei fab, Willy, yn dyfod yn mlaen?"

"O! campus."

"Beth yw ei oed yn awr?"

"Y mae yn ugain."

"Oed peryglus iawn."

"Felly y mae pobl yn dyweyd; ond 'dy'wi ddim yn gwel'd hyny," meddai Slade.

"Ië, hwyrach eich bod chwi yn yr oed hwnw yn gorfod gweithio yn galed bob dydd."

"Oeddwn wir, yn galed iawn hefyd."

"Wel y mae hyny yn wahanol iawn i un yn cael ei holl amser i fyned i'r lle myno. Gwaith da iawn yw rhoi dynion ieuainc at ei oed ef mewn sefyllfa ag y cânt ddigon o waith, y mae hyny yn eu cadw rhag miloedd o demtasiynau peryglus.

"Fedra i ddyweyd dim am hyny," ebai'r tafarnwr, gan ysgwyd ei ysgwyddau, a sobri ei wyneb. Ond nid wyf fi yn gweled fod Willy Hammond mewn unrhyw berygl neillduol. Y mae yn ddyn ieuanc a llawer o gyfeillion ganddo a phawb yn ei garu, ac y mae ganddo ddigon o synwyr i ymgadw oddiwrth bobpeth a allai ei niweidio."

"Ar hyn daeth rhyw ddyn heibio, a chafodd Simon Slade gyfle i dori yr ymddyddan oedd erbyn hyn mor annymunol ganddo. Wedi iddo fy ngadael aethum i'r *bar-room*. Yr oedd Frank yn brysur wrth y *bar*. Yr oedd wedi tyfu llawer er's blwyddyn; ac o fod yn faehgen lled deneu a gwylaidd, yr oedd wedi myned yn *stout* a hyf a beiddgar. Yr oedd Green yn sefyll yn ei ymyl yn siarad âg ef, ac ymddangosai Frank fel yn mwynhau ei sylwadau a'i iaith isel. Daeth Flora, chwaer Frank, boneddiges hardd a golygus dros ben, i mewn i nol rhywbeth o'r *bar*. Siaradodd Green â hi yn hyf a digywilydd, ac atebodd Flora ef mor

fyred ag y gallai, tra gwridai ei gwyneb prydferth.

"Geneth hardd ydyw y chwaer yna sydd genych Frank! Geneth nise iawn!" meddai Green, wedi i Flora fyned ymaith—siaradai am dani yn union fel pe buasai yn siarad am geffyl neu gi.

Chwarddodd Frank wedi ei foddio yn fawr!

"Rhaid i mi dreio ei chael yn wraig Frank. Synwn i ddim na chymerai hi fi."

"Well i chwi ofyn iddi," ebai Frank, dan chwerthin.

"Mi wnawn i, pe meddyliwn fod rhyw *chance* i mi."

"Does dim byd tebyg i dreio. Wneiff calon ofnus byth enill serch geneth deg," meddai Frank, fel pe buasai yn bump ar hugain oed. Mor fuan yr oedd wedi yfed addysg y dafarn!

"By George," ebai Green, "Frank, yr ydych yn tyfu i fyny yn rhy ffast! Rhaid i mi siarad â'ch tad yn eich cylch. Ha! ha! ha! rhy ffast, rhy ffast."

Wedi i'r ffit chwerthin fyned drosodd, gadawodd Green y *bar-room.*

"Fynwch chwi rywbeth i yfed?" gofynodd Frank i mi, mewn dull hynod-hyf ac anfoesgar.

Dywedais na fynwn.

"Dyma i chwi bapyr newydd," meddai drachefn."

Cymerais y papyr, nid i ddarllen ond i eistedd ac ymofidio oblegid yr hyn a welais ac a glywais. Yr oedd yn rhyfedd genyf feddwl os oedd yn bosibl fod y tafarnwr "yn dyfod yn mlaen yn gampus," ac yn cael ei "foddloni yn berffaith" yn y dafarn. Beth os ydyw yn enill llawer o arian, beth yw hyny gogyfer ag i'w fachgen golli pob gronyn o ledneisrwydd a moesau da, ac iddo fod yn y fan hon i ymwneyd â chymeriadau aflan, llygredig, dioglyd, a meddwol! "Dyfod yn mlaen yn gampus!" Na! na! y mae hyny yn anmhosibl; y mae y dyn yn ddall i bobpeth ond i gasglu arian. Arian! arian! aed ei deulu i ddystryw! Tra yr oeddwn yn meddwl y pethau hyn, daeth Slade i'm galw i swper.

## Y WASG.

*Pryddest yr Angladd Pentrefol,* gan D. H. Jones (Dewi Arfon).

BARNWYD y bryddest hon yn ail oreu yn nghystadleuaeth ddiweddar Rhuthyn. Dywedodd y beirniad—Tegai—y dylasai y wasg ddwyn y cyfan o honi i oleuni dydd. Ofnwn fod y wasg, gan faint ei hufudd-dod, wedi myned trwy y gorchwyl yn rhy frysiog; mae ôl prysurdeb neu aflerwch yn nghysodiad y bryddest mewn llawer man.

Efallai y buasai golygfa yr "Angladd Pentrefol" yn fwy effeithiol pe buasai y bardd wedi dewis yn arwr ryw hen ddiacon hybarch, neu feddyg gofalus; gallasai y cyfryw ar yr un pryd fod yn briod a thad. Modd bynag, mae y bryddest hon yn ddarluniad cywir ac effeithiol o olygfa dydd claddedigaeth. Mae llon'd y penillion ar "hen elor y plwy'" o deimlad; ond y mae rhai o'r llinellau yn lled anystwyth, a'r corfanau yn afreolaidd mewn manau. Darllenasom hi dair gwaith neu bedair drosti, a'n rheswm dros wneyd hyny ydyw ein bod yn cael boddhad a phleser wrth wneyd—y mae digon o deimlad ynddi i gynhyrfu ein calon bob tro.

## DAMMEG.

UN bore gaua'n goeth
Fe aeth Gwirionedd noeth
O gylch y byd i grwydro;
Ond gan ei fod yn hen,
A'i wyneb heb un wen,
'Roedd pawb yn cilio rhagddo.

Eisteddodd yntau i lawr
Ar ochr y ffordd fawr,
Gan oerfel ymron rhynu;
Ond, druan oedd y Gwir!
Er dysgwyl yno'n hir,
'Doedd neb am ei groesawu.

Ond ar ei hynt drwy'r fro
Daeth Dammeg i roi tro,
Mewn gwisgoedd gwych a pherlau:
Gofynai iddo'n syn,—
"Paham yr wyt fel hyn,
Mewn oerni tost ac eisieu?"

Yn drist, atebai'r Gwir,—
"Eisteddais yma'n hir
Yn dlodaidd a dilety;
Mae'r crychni ar fy ael,
A'm golwg llwm a gwael
Yn gwneyd i bawb ddychrynu."

"Mi goelia'th brofiad dwys,"
Atebai'r Ddammeg lwys,
"Can's 'r wyt yn cyfeiliorni;
Pe byddai'r hîn yn boeth
Nid gweddus rhodio'n noeth,
A llawer llai ar oerni.

Fe'm perchir i 'n mhob man—
Tyr'd cymer dithau ran
O'm mantell a'm teganau;
A rhodiwn mwy yn nghyd,
Can's gŵyr y llydan fyd
Ein bod yn hen berth'nasau.

O gell y doethawr mwyn
Byth bellach er dy fwyn
Ni'm cauir yn fy angen;
Cei dithau fwy o fri—
Y ffol, o'm herwydd i,
A'th dderbyn dithau'n llawen.

Ac yn mhob tref a llan
Cawn groesaw cryf a gwan,
Y naill i'r llall yn gysgod;
Bydd fy nheganau i
Neu'th aur profedig di
Gan bawb yn werthfawr hynod."

IOAN PEDR.

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

### YR AIL NOSWAITH.

YR oeddwn yn teimlo cymaint o ddyddordeb yn y personau a welais yn y *bar-room* fel yr oeddwn yn awyddus i wybod sut yr oeddynt yn dyfod yn mlaen—pa effaith oedd y dafarn yn ei gael arnynt. Wedi swpera, aethum i'r *bar-room* i weled sut olwg a gawn arnynt yn treulio y noson hono.

Llanwyd y *bar-room* yn fuan;—yr oedd y busnes wedi cynnyddu llawer mewn blwyddyn. Yr hyn a'm gofidiai yn fawr oedd gweled cymaint o ieuenctyd yn dyfod i mewn ac yn yfed yn awchus. Ha! pwy a all draethu y fath ddinystr ydyw tafarn mewn cymydogaeth? Gydag i mi gymeryd eisteddle, daeth hen ŵr parchus a difrifol yr olwg i mewn,—yr oedd yn hawdd darllen ar ei wynebpryd fod rhywbeth yn ei ofidio yn dost. O! y pryder a'r galaeth oedd yn argraffedig ar ei wedd! Rhaid bod cyfeddach feddwol y tafarnau yn yspeilio dynion o bob gronyn o barch a theimladau anrhydeddus cyn y gallent edrych mor ddïystyrllyd ac ymddwyn mor gïaidd at henafgwr parchus fel hwn; buasai dynion â rhyw ychydig o rinweddau y ddynoliaeth ynddynt yn talu gwarogaeth o barch ac anrhydedd i ŵr oedranus o'i fath, sydd yn amlwg fod ei benwyni mewn gofid, a'i ruddiau yn wlybion gan ddagrau ei henaint; ond nid felly yn y dafarn; na, na, ni ŵyr mynychwyr y gyfeddach am deimladau felly; bwriwyd ymaith o honynt hwy bob rhinwedd, er rhoddi lle i anwydau diaflaidd ac ysbrydion melldigedig! Gwelwn y dyn wedi dyfod i mewn yn edrych o amgylch yr ystafell—yr oedd yn edrych am rywun. Sylwais fod llygaid pawb yn yr ystafell yn edrych ar un dyn ieuanc oedd yn mhen draw yr ystafell gyda'i gyfaill yn chware *dominoes*. O'r diwedd troes yntau ei lygaid ar yr un person, a chyda llais toddedig gan dristwch a gofid clywwn ef yn dyweyd—

"Edward!" Cynhyrfodd y gwr ieuanc yn fawr pan glywodd ei lais ef; ni ddywedodd ddim mewn atebiad.

"Edward, fy mab!" meddai drachefn. Nid oedd Edward eto wedi caledu i'r fath raddau nad oedd llais cwynfanus ei dad yn cael un effaith arno; ond yr oedd ar y ffordd i fyned felly yn gyflym. Cododd y bachgen heb ddyweyd gair, ac aeth allan efo'i dad.

"Ddyweda' i chwi beth," meddai y bachgen oedd yn cydchware âg ef, yr hwn nid oedd yn ugain oed, "pe buasai yr hen ŵr acw yn gwneyd ffwl o hono ei hun fel yna, trwy ddyfod i lechian ar fy ol i hyd y tafarnau, ni chawsai ond ei drafferth am ei boen. Faswn i yn leicio i weld o yn treio! Dyna lle base helynt o honi hi! Mi faswn i yn mynd efo fo fel oen, mi wn! ha! ha! ha!"

"Pwy oedd y dyn yna?" gofynais iddo.

"Mr Hargrove ydyw ei enw."

"Ei fab oedd hwnyna aeth gydag ef?"

"Ië; piti na buasai mwy o blyc na hynyna yno fo."

"Beth ydyw ei oed?"

"Oddeutu ugain."

"O! nid yw ond ieuanc eto."

"Mae o'n ddigon hen i fod yn feistr iddo'i hun."

"Mae y gyfraith yn dyweyd yn wahanol," meddwn inau. Yn atebiad i hynyna, troes y dyn ieuanc i regi y gyfraith yn ofnadwy.

"Wel," ebe finau, "chwi addefwch na wnai Edward Hargrove ddangos y synwyr gore pe yr äi i'r man y mynai, a phe gwnelai bobpeth fel yr ewyllysiai."

"Na, ni addefaf fi y fath beth. Pa niwed all fod mewn chwareu *game* o *dominoes*?—doedden ni ddim yn giamblo."

Pwyntiais inau at y glasied cwrw oedd Hargrove wedi ei adael ar ei ol. "Yn hwnyna y mae y perygl mawr. Pe na buasai ond glasied o gwrw a *game* o *dominoes* ni buasai yn gymaint; ond nid ydyw yn stopio gyda hyny; ac felly y gŵyr tad Edward Hargrove yn dda."

"Efallai y gŵyr," ebai rhyw ddyn oedd yn eistedd yn ymyl, yr hwn oedd oddeutu deugain oed. "Yr wyf yn ei gofio ef o'r gore pan oedd ef at oed Edward, ac andros o fachgen oedd o hefyd. Ni buasai ef yn stopio ar un glasiad, na dau chwaith; na choelies i fawr, gwelais ef cyn feddwed a mochgyn lawer gwaith, a llawer gwaith y gwelais ef mewn rhedegfeydd ceffylau, ac yn ymladd ceiliogod. Nid oeddwn i ond plentyn y pryd hwnw, ond gallaf ddyweyd i chwi nad oedd yr hen Hargrove yn sant."

"Nid wyf fi yn rhyfeddu felly ei fod mor ofnus yn nghylch ei fab," meddwn inau. "Y mae yn gwybod hyny gwell am y peryglon y mae ei fab ynddynt."

"Nid wyf yn gweled fod hyny wedi gwneyd llawer o niwed iddo. Cafodd ef fwynhau pleserau ei ieuenctid, ac yna priododd, a dechreuodd ar fusnes, a daeth yn mlaen yn eitha'. Paham na adawai efe i'w fab gael yr un mwynhad? Na, na, dydi o ddim yn ymddwyn yn iawn, syr. Piti na buasai Ned wedi dangos mwy o blyc, a'i yru o adre o gwmpas ei fusnes."

"Hyny faswn i yn ei wneyd dase yr hen ddyn acw yn dwad i edrych am dana i, ydw'i 'n siwr," meddai rhyw sgogyn bychan arall o'r ysgol felldithiol hon.

"Y mae yn gwybod yn well nag y buasai yn gwneyd hyny," ebai un arall.

"Debyg iawn. Ceisiodd wneyd hyny unwaith neu ddwy, ond buan y gwelodd ei ffolineb."

"Gwrando, Jo Morgan!" clywwn lais Simon Slade yn adsain dros yr ystafell—"Dos o ngolwg i!"

Nid oeddwn wedi gweled Morgan yn dyfod i mewn. Yr oedd yn sefyll wrth y *bar*, a *glass* gwag yn ei law. Nid oeddwn yn gwybod beth oedd wedi ei ddyweyd i gynhyrfu Slade, ond yr oedd gwyneb y tafarnwr wedi myned fel tân, a'i lygaid yn fflamio yn ei ben; ond nid oedd Jo yn teimlo dim, nac yn ysgogi i roddi yr ufudd-dod lleiaf iddo

"Dos ymaith, meddaf eto; ac na ddangos dy wyneb yma byth! Chaiff blagiard o dy fath di ddim dyfod yn agos i nhŷ fi. Gan na fedri di ymddwyn yn weddus, cadw oddiyma."

"Tafarnwr yn son am weddusrwydd—ha! ha!" chwarddai Jo Morgan. "Pw! ba! Chwi fuoch yn ddyn symol gweddus unwaith, ac yn felinydd da yn y fargen; ac mae yr amser hwnw wedi darfod. Ond pan aethoch yn dafarnwr, collasoch bob gronyn o weddusrwydd. Gweddusrwydd wir! twt! twt! Sut y medrwch chwi siarad am y fath beth, ddyn! fel pe bae gwerthu cwrw yn fwy gweddus na'i yfed o."

Wedi clywed Morgan yn siarad mor blaen, a Slade ei hunan wedi yfed ar y mwyaf, efe a afaelodd mewn *glass* gwag oedd yn ei ymyl, a chyda holl nerth ei fraich chwyrnellodd ef at ben Jo Morgan. Ni wnaeth y *glass* ond prin basio ei arlais, a chyda hyny dyna waedd farwol rhyw blentyn wrth y drws, yr hyn a atebwyd gan waedd a dychrynfeydd pawb oedd yn yr ystafell.

"Plentyn Jo Morgan! Y mae wedi ei lladd! Y nefoedd fawr!" Dyna a glywid drwy y fan. Yr oeddwn yn un o'r rhai cyntaf a gyrhaeddodd y drws lle yr oedd yr eneth yn gorwedd yn farw, a'r *glass* wedi suddo yn ei phen, a'i gwaed yn llifo. Codais hi yn fy mreichiau tra yr oedd Morgan yn sefyll yn fy ymyl wedi ei syfrdanu, heb wybod yn iawn beth i wneyd.

"Beth ydi'r mater! O! beth ydi'r mater!" gwaeddai rhyw ferch ddychrynedig.

"Dim byd! dim byd! ewch i'r tŷ, Ann; ewch!" clywais y tafarnwr yn ateb

Ond ni fynai Mrs Slade—gwelais mai hi oedd yno—ni fynai hi fyned ymaith—yr oedd wedi clywed gwaedd farwol y plentyn, a myn-odd ymwasgu i'r lle i weled pwy a anafwyd. Cyn gynted ag y gwelodd hi y plentyn, archodd i Frank redeg i nol Dr. Green. O! yr olwg frawychus oedd arni!

Daeth Frank o gwmpas y counter gan feddwl cychwyn, ond rhwystrodd ei dad ef. Wrth ei weled yn ymarhoi, rhoes ei fam orchymyn *sharp* iddo drachefn i fyned ar ffrwst gwyllt.

"Pam na redwch chwi, y rasgal brwnt!" ebai Harvey Green. "Fe fydd y plentyn farw cyn y cyrhaedda y doctor yma."

Ni arosodd Frank yn hwy,—rhedodd at y doctor.

"Ow! druan bach!" meddai Mrs. Slade, gan gymeryd y plentyn o fy mreichiau. "Sut y bu hyn? Pwy t'rawodd hi?

"Pwy? Lladder ef! Pwy ond Simon Slade?" atebodd Jo Morgan, gan wasgu ei ddanedd mewn mileindra.

O! yr olwg gynhyrfus, ofidus, a daflodd Mrs. Slade at ei phriod pan ddeallodd hyny,—ni anghofiaf yr olwg hono byth!

"O Simon, Simon! ac y mae hi wedi dyfod i hyn, yn barod?" Y fath fyd o feddwl sydd yn yr ymadrodd yna? "I hyn yn barod!" Ha! mor gyflym y cyrhaeddir gwaelodion adfyd a phrofedigaethau!

"Dowch â phiseraid o ddŵr a llian i mi mewn munud," meddai Mrs. Slade.

Daeth y dŵr i mewn, a golchwyd wyneb y plentyn oddiwrth y gwaed oedd hyd-ddo, ac attaliwyd i'w gwaed redeg; ond O! yr olwg oedd arni, druan! Yr oedd yn gwbl fel corff marw. Cyrhaeddodd y doctor. Gyda'i fod yn rhoddi y pwyth diweddaf yn yr archoll cythryblwyd pawb drwy y lle gan ysgrechfeydd rhyw ddynes a ruthrodd i mewn i'r tŷ. O y fath ddrych oedd arni—ei gwyneb cyn wyned a'r calch, a'i llygaid yn rhythu yn wylltion, a chyffro a dychryn fel ar rwygo ei chyfansoddiad. "Jo! Jo! Beth ydi'r mater? Lle mae Mary? ydi hi wedi ei lladd?" dyna oedd ei gofynion cyffröus.

"Nag ydyw, Fanny," atebodd Jo Morgan, gan godi i fyny oddiar ei liniau oddiwrth ei blentyn, a myned at ei briod; "Y mae hi yn well yn awr. Weles i 'rioed fath anlwc? ond mae y doctor yn dyweyd nad oes dim perygl. O! ngeneth anwyl i!"

Trodd gwyneb Fanny Morgan yn wynach, methai gael ei hanadl, syrthiodd mewn llewyg i freichiau ei gwr! O! olygfa galonrwygol! O! ofnadwyaeth trueni meddwdod! Beth fuasai sefyllfa y ddau greadur yna sydd yn awr yn nyfnder gwae a dinystr pe na buasai diodydd meddwol? Pwy draetha ofid y dyner a'r hawddgar Mrs. Morgan pan ar ambell funud y bydd yn adgofio llawnder a dedwyddwch bore ei hoes? Cofiwch ferched Cymru mai rhan i'w hyn o phiol chwerw gwraig y meddwyn. Cyn hir iawn adfywiodd y wraig o'i llewyg, a chofleidiodd ei phlentyn.

Aeth Jo Morgan ymaith gan gario ei blentyn, ac aeth ei briod i'w ganlyn. Byddai yr eneth, fel y deallais, yn arfer dyfod i'w nol bob amser os äi hi yn hwyr cyn iddo ddyfod adref. Nid äi hi byth i'w gwely cyn gweled ei thad wedi dyfod i'r tŷ. Wedi iddynt fyned ymaith aethum i'r *bar-room* at Simon Slade i edrych sut yr oedd efe yn teimlo erbyn hyn.

"Mae wedi bod yn anffodus iawn yma heno," meddai. "Yr wyf yn ddig wrthyf fy hun, ac y mae yn ddrwg genyf dros y plentyn. Ond 'does ganddi ddim busnes i ddyfod yma. O ran Jo Morgan, y mae yn anmhosibl i sant ei ddy-

oddef. O fe fyddai yn dda genyf pe cadwai i ffwrdd,—'does yma neb eisieu ei weled. O! bobl anwyl!"

## PWRS BRENINOL.

I'R dyben o ddwyn ein ddarllenwyr i weled dull yr hen freninoedd o fyw, dyfynwn ychydig linellau o lyfr poced Siarl II., fel ag yr ail-ysgrifiwyd ei gynnwysiad gan Malone, golygydd enwog gweithiau Shakespeare.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Dyled Lady Castlemaine | P1116 | 1 | 0 |
| Am lestri arian, &c | 850 | 0 | 0 |
| Am falu cocoa-nuts | 5 | 8 | 0 |
| Arian chware Lady C. | 300 | 0 | 0 |
| Am gôr o fiwsig | 50 | 0 | 0 |
| I'r ffwtmon a gurodd Teague | 5 | 7 | 6 |
| I Mr. Pears am ddisectio corff ger fy mron | 5 | 1 | 0 |
| Arian chware Lady C. | 300 | 0 | 0 |
| I'r Morris Dancers yn Ely | 1 | 1 | 0 |
| I Mr. Knight am fy ngwaedu | 10 | 10 | 0 |
| Am gyfarwyddyd i wneyd chocolate | 227 | 0 | 0 |
| I Mr. Price am odro y mulesau | 10 | 0 | 0 |
| I un a ddangosodd driciau tumblers | 5 | 7 | 6 |
| Am gael fy mhwyso | 1 | 1 | 0 |
| I Hall am ddawnsio ar raff | 20 | 0 | 0 |
| Allowance i'r frenines | 1250 | 0 | 0 |
| Am gerddi *(ballads)* | 5 | 0 | 0 |
| I Jerry am edrych ar fy ol yn nofio | 10 | 0 | 0 |
| I Nell Gwynne | 100 | 0 | 0 |
| A gollais yn y chwareudy | 220 | 0 | 0 |
| Am yr hyn a fenthycais oddiar Countess Castlemaine | 1650 | 0 | 0 |

Fe dreuliodd Edward y Cyntaf dri Nadolig yn Nghastell Rhuddlan, ac y mae'n ffaith dra anadnabyddus fod ei frenines wedi esgor ar dywysoges yn y Castell hwnw—"This shows that his entire household was transferred into Wales, at the time his policy was directed to complete the annexation of the Principality." Mae hen ysgrif yn Nhŵr Llundain, dyddiedig 1281–2, yn dangos treuliadau Edward yn Rhuddlan. Fe'i cyfieithwyd gan Samuel Sysons, ysw. Swm ei dreuliadau ef a'i frenines ydoedd 2,220p. 2s. 10½c. Mae y rhôl hon yn un ysmala ryfeddol, ond dyma yr ychydig ohoni sydd yn ein gallu ni i'w chyflwyno:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| Am eglwysiad y frenines, ac offrwm yn y gwasanaeth | P0 | 3 | 0 |
| Rhodd y frenines i amryw delynwyr oeddynt bresennol yn ei heglwysiad *(churching)* | 10 | 0 | 0 |
| I ysbeiferch *(female spy)* | 0 | 1 | 0 |
| I brynu tŷ cyfleus i'r "spy" | 1 | 0 | 0 |
| I'r brodyr yn ysbyty Rhuddlan | 0 | 1 | 1 |
| Rhodd i chwareuwr *(player)* | 0 | 8 | 0 |
| Am offeren tros enaid William de Bajor | 0 | 1 | 10 |
| I'r negesydd a gariai lythyrau i Lundain i'w gyru i Rufain | 0 | 1 | 0 |
| I fân *bailiffs* yn y Castell | 0 | 4 | 10 |
| Am gario 80 casg o win oddiwrth y dwr i'r Castell | 1 | 2 | 6 |
| Am drol i gario saethau a bwäau croesion o Rhuddlan i Hope | 0 | 1 | 4 |
| Am 600 o dywyrch o amgylch llyn yn y Castell | 0 | 1 | 0 |
| Am gario ffigys a raisins i Aber Conwy | 0 | 0 | 1 |
| Yn gyflog i 1,060 o fwasaethwyr, yn ol dwy geiniog; i 53 o gadbeniaid, yn ol grôt; ac i 10 cwnstabl y ceffylwyr, yn ol swllt y dydd | 68 | 8 | 6 |
| Eto i 1040 o fwasaethwyr, &c. | 67 | 4 | 0 |

## LLWCH AUR.

Y mae yn esmwythach dysgu mewn ieuenctid, na bod yn anwybodus mewn henaint.—*Solon.*

Cafodd pechod warth ar hyd heolydd Jerusalem na chyfyd byth o dano. Gosododd annuwiolion eu hysgwyddau dano i'w godi. Mae mawredd y person a warthruddwyd o'i blegid rhyngddo a myned i'r lan tra byddo Duw yn bod.—*D. Charles, Caerfyrddin.*

Cawsom y llwch hyn oddiwrth ein gohebydd J. Davies, Llanllechid:—

PA BETH YW DYN?—Angel yn Eden, diafol yn y byd, sant yn yr eglwys, a brenin yn y nefoedd.

EIN DYLEDSWYDD TUAGAT DDUW.—Ofnwn Dduw oherwydd ei allu; ymddiriedwn ynddo oherwydd ei ddoethineb; carwn ef oherwydd ei ddaioni; addolwn ef oherwydd ei fawredd; credwn ynddo ef oherwydd ei cirwiredd; a dymunwn ef oherwydd ei santeiddrwydd.

ANRHYDEDD.—Teilyngu anrhydedd heb ei gael sydd lawer gwell na'i gael heb ei deilyngu.

ARFAU Y CREDADYN.—Arfau y credinwyr yw eu gweddïau a'u dagrau. Y credadyn yw y rhyfelwr mwyaf yn y byd.

Ieuenctid ydyw y maes i hadau edifeirwch.

Os ydym yn gallu byw mor dduwiol ag y dymunem, mae genym le i ofni nad ydym wedi dechreu byw yn dduwiol.

EDIFEIRWCH.—Mae edifeirwch yn ddyledswydd i'w chyflawni; yn ras i'w roddi; ac yn athrawiaeth i'w phregethu.

CYDWYBOD DDA.—Gall y rhai sydd yn gofalu am gadw cydwybod dda fod yn sicr y ceidw Duw iddynt eu henwau da.

Y ffordd i fyned yn fawr ydyw bod yn fychan.

GWNEYD A ALLWN.—Os gwnawn yr hyn a allwn, fe wna yr Arglwydd yr hyn ni allwn.

GORCHFYGU ANGHREDINIAETH.—Pan nad allwn orchfygu ein hanghrediniaeth trwy resymau, gadewch i ni wneyd hyny trwy ein gweddïau.

GWYBODAETH.—Mae gwybodaeth pawb yn sicr o fod yn lleihau os nad ydyw yn mwyhau.

Mae natur yn foddlawn ar ychydig, a gras ar lai; ond nid oes modd boddloni chwant.

Os yw crefydd yn werth rhywbeth, mae'n rhaid ei bod yn werth pobpeth.

Gall fod gan Grist hawl ynom ni, er ein bod ni yn methu gwybod fod genym ni hawl ynddo ef.

fradychu, gwnewch hyny yn onest, yn unplyg, ac nid bradychu â chusan. Yr wyf yn credu, nid heb sail, fod ysgrif Trefnydd yn meddu ar fath o ysbrydoliaeth: bydd hyn yn allwedd i'r darllenydd i fyned i mewn i ystyr awgrymiad neu ddau yn fy sylwadau.

Yr eiddoch, heb dwyll,
JAMES DONNE.

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

### Y DRYDEDD NOSWAITH.

Y NOSWAITH ddilynol i'r hon y cymerodd yr olygfa boenus a chynhyrfus gyda phlentyn Jo Morgan le, yr oedd Harvey Green yn lled-orwedd yn y *bar*, ac yn ymddyddan gyda Simon Slade.

"Nid wyf yn gweled eich cyfaill hoffus Jo Morgan yma heno," ebe Green.

"Nag ydi," oedd yr ateb—a dilynwyd y gair â rhegfa arswydus; "ac os ceidw o'n nhŷ i gall fyn'd i ——— cyn ffastied ag y myno: mae wedi profi fy 'mynedd tuhwnt i bobpeth, ac 'rwyf wedi penderfynu na chaiff ddyferyn o ddiod byth yma eto. 'Rwyf wedi dyodde ei dafod drwg ddigon o hyd,—ond nid wyf am ei ddy-odde ddim 'chwaneg. Ac 'roedd neithiwr yn waeth na'r cwbl. Beth pe buaswn wedi lladd ei blentyn?"

"Wel, mi fasech mewn digon o helynt yn siwr i chi."

"Baswn. Yn mhellach y bo'i gwyneb! Pa fusnes sy' gyni hi i hel ei hunan yma bob nos?"

"Rhaid bod gyni hi fam neis," ebai Green, gyda gwên ddiystyrllyd.

"Wn i ddim beth ydi hi 'rwan," atebai Slade —ac ymddangosai fel yn teimlo ychydig; "y mae wedi tori ei chalon mae'n debyg; dallwn i ddim edrych arni neithiwr—'roedd yn fy ngneyd i'n sâl. Ond fe fu amser pan oedd Ffanny Morgan y ddynes ore a'r harddaf yn Cedarville. Mi ddeudaf hyny byth. O! y fath fywyd annghysurus y mae ei gwr wedi ei dwyn iddo!"

"Fydde'n dda dae o wedi marw, ac allan o'r ffordd,' ebe Green.

"Fydde'n yn dda gan fy nghalon i pe tore fo'i wddw ryw noswaith; fe fydde'n fendith fawr i'w deulu," atebai Slade.

"Ac i chwi, yn neillduol," ebai Green, dan chwerthin.

"Gellwch fod yn siwr o hyny," meddai Slade, yn ddigyffro.

Gadewch i ni yn awr adael *bar-room* y "Black Lion," a'r triganwyr dideimlad, i gymeryd cipolwg ar deulu Jo Morgan, ac edrych pa fath olygfa a gawn yn nghartref y meddwyn tlawd. Ni a draws-symudwn ar darawiad llygad.

"Jo!" Mae llaw deneu, wen, Mrs. Morgan yn cydio yn afaelgar yn mraich ei gwr, yr hwn sydd wedi cyfodi yn sydyn, ac yn awr yn sefyll wrth y drws haner agored. "O! peidiwch a myn'd allan heno, Jo; peidiwch, Jo anwyl!"

"Nhad!" y mae llais gwanaidd a thyner yn galw o gongl yr ystafell lle mae Mary fach yn gorwedd, a'i phen briwiedig wedi ei rwymo.

"Wel, nid âf ynte," medd Jo, mewn tôn hynaws, wedi ei orchfygu gan ddylanwad ei ferch.

"Eisteddwch yn f'ochor, nhad." Mor dyner, ac eto mor effeithiol, yw ei llais isel, ond peraidd.

"Gwnaf, cariad."

"Cydiwch yn fy llaw, nhad."

Y mae Jo yn gafael yn llaw Mary fach, ac mae hithau yn cydio yn dyn yn ei un yntau.

"Ewch chwi ddim i ffwrdd a ngadael i heno, ewch chwi, nhad?"

"Mor boeth yw eich llaw, f'anwylyd. A oes cur yn eich pen?"

"Tipyn bach; ond mi ddaw yn well yn union."

Y mae llygaid gleision a threiddgar y plentyn yn syllu yn ddifrifol ar wyneb hagr a chwyddedig ei thad.

"O, nhad anwyl!"

"Beth sydd, fy mhlentyn?"

"O mi leiciwn i chwi addo rhywbeth."

"Beth ydi hwnw, Mary?"

"'Newch chi addo, nhad?"

"Wel, wn i ddim nes clywed beth ydio. Os medraf mi wnaf."

"O! mi fedrwch—mi fedrwch, fy nhad!"

"Beth ydio, Mary?"

"Nad ewch byth i dy Simon Slade."

Mae y plentyn trwy boen yn haner cyfodi, ac yn dyfod yn agosach at ei thad. Mae Jo yn ysgwyd ei ben, ac mae Mary druan yn ymollwng yn ol ar ei gobenydd gydag ochenaid drom. Mae ei llygaid yn cau, a'u hamrantflew hirion yn gorphwys ar ei gruddiau gwelw.

"Wel, nid âf yno heno. Peidiwch a gofidio."

Mae Mary yn ail agor ei llygaid, ac mae dau ddeigryn gloew yn cael eu gollwng o'u carchar, ac yn treiglo yn araf dros ei gwyneb.

"Diolch i chwi, nhad—diolch i chwi. Mor falch fydd fy mam."

Ceuodd ei llygaid drachefn; a symudai y tad yn ol a blaen yn gynhyrfus. Yr oedd ei galon wedi ei chlwyfo. Mae rhyw ymdrech ofnadwy oddimewn iddo. Mae bron a dywedyd—"Nid âf i'r Black Lion i yfed byth eto." Ond nid yw ei benderfyniad yn ddigon cryf i roddi caniatad i'w wefusau lefaru.

"Nhad!"

"Wel, cariad!"

"Nid wyf yn meddwl y medraf fyn'd allan

am dri neu bedwar diwrnod. Yr ydych yn gwybod i'r doctor ordro i mi fod yn llonydd, am fod y *fever* arna i'n drwm."

"Do, d'wedodd felly, Mary."

"'Rwan 'newch chwi addo un peth i mi?"

"Beth, f'anwylyd?"

"Peidio myn'd allan y nos nes i mi fendio."

Mae Jo yn petruso.

"G'newch addo, nhad. Fyddai ddim yn hir. Mi fendiaf yn union."

Ni fedr Jo Morgan lai nag ufuddhau i'w herfyniadau—y mae yn addaw.

"'Rwyf yn addo Mary. Gan hyny treiwch gysgu—'rwyf yn ofni i'r *fever* fyn'd yn waeth."

"O! mae'n dda geni—mae'n dda geni!"

Nid yw Mrs. Morgan wedi bod yn dyst difater o'r ymddyddan yma; ond yn gwybod y dylanwad a feddai y plentyn ar ei thad, ni anturiodd ddyweyd gair. Yn awr y mae hi yn nesau atynt, a chan roddi ei llaw ar ysgwydd ei ei gwr, dywed—

"Yr ydych yn teimlo yn well oherwydd yr addewid yna; 'rwyn siwr eich bod."

Mae Jo yn edrych arni ac yn gwenu. Y *mae* yn teimlo yn well, ond nid yw yn ewyllysgar i gydnabod hyny.

Yn fuan wedi hyn y mae Mary yn syrthio i gysgu. Mae Mrs. Morgan yn sylwi fod ei gwr yn dechreu anesmwytho, oblegid y mae yn neidio ar ei draed 'nawr ac eilwaith, gan gerdded yn gyflym ar draws yr ystafell, fel pe byddai wedi colli rhywbeth. Yna y mae yn eistedd i lawr—yn ocheneidio—yn ystwyrian—dywed, "*O dear*." Pa beth a wna iddo? Pa fodd y mae ei chwant anniwall am y ddiod i gael ei llonyddu? yw yr ymofyniadau sydd yn ymgynnyg i feddwl Mrs. Morgan. Druan ydyw Jo! Y mae ei wraig yn deall ei gyflwr yn dda, ac yn tosturio trosto. Ond pa beth a all hi wneyd iddo? Myned allan i ymofyn diod iddo? O! na—byth! Y mae awr wedi treulio, ac mae anesmwythder Jo yn cynnyddu. Pa beth sydd i'w wneyd? Yn awr mae Mrs Morgan wedi gadael yr ystafell; y mae wedi penderfynu gwneyd rhywbeth, oblegid ni thal bod fel hyn yn hir. A! dyma hi yn dyfod, ar ol absennoldeb o bum munud, â chwpanaid o goffi cryf yn ei llaw.

A! yr oeddych yn bur dda, Ffanny," medd Morgan, gyda gwên siriol wrth gymeryd y cwpan. Ond y mae ei law yn crynu, fel y mae peth o gynnwysiad y cwpan yn colli wrth iddo ei gyfodi at ei wefusau. O! y fath effeithiau dychrynllyd y mae y gwirodydd wedi eu cynnyrchu ar ei gyfansoddiad! Yn awr y mae llaw ei wraig yn cynnal y cwpan wrth ei enau, ac yntau yn drachdio yn awchus.

Ffrydia y dagrau yn ddiarbed o lygaid Mrs. Morgan. Y mae ei gwr eisoes wedi ei oddiweddyd ddwywaith â gwallgofwydd y meddwyn; a chenfydd Mrs. M. fod yr ymataliad byr yn sicr o gael ei ddilyn âg ymosodiad arall o'r clefyd peryglus hwn. I liniaru y boen y mae wedi rhoddi iddo y coffi, ac mae hwn am yr amser wedi cynnyrchu yr effaith ddymunol. Mae yr anesmwythder yn peidio, a llonyddwch corff a meddwl yn canlyn. Nid oes eisieu ond dyweyd y gair, ac y mae yn myned i'w wely. Ar ol bod yn y gwely am ychydig funudau, mae cwsg yn syrthio arno, a dywed ei anadliad trwm ei fod yn myd y breuddwydion.

Ar hyn y mae y drws yn cael ei guro.

"Dowch i mewn," yw yr ateb.

Gwthir y drws yn agored, ac mae gwraig Simon Slade yn gwneyd ei hymddangosiad.

"Mrs. Slade!"

"Ffanny, sut yr ydych chwi heno?"

"Canolig, diolch i chwi."

Mae y ddwy yn ysgwyd dwylaw yn garedig, ac am ychydig eiliadau yn syllu yn wynebau eu gilydd.

"Sut mae Mary fach heno?"

"Nid cystal 'rwy'n ofni; mae y *fever* arni'n dost."

"Yn wir! O, mae'n ddrwg geni glywed. Druan oedd Mary! O, Ffanny! wyddoch chwi ddim fel mae y peth wedi mlino i. Yr oeddwn yn meddwl drwy y dydd dyfod i edrych am dani, ond fedraswn i ddim hyd y munud yma."

"Do, bu agos iddi gael ei lladd," medd Mrs. Morgan.

"Trugaredd Duw a'i hachubodd," medd Mrs. Slade, gan gymeryd cadair ac eistedd yn ochr y gwely bychan lle y gorweddai Mary druan.

Mae Mrs. Slade yn syllu yn ddifrifol ar wyneb y plentyn, ac yn canfod fod ei gwefusau yn symud. Deallir ei bod yn siarad rhywbeth yn ei chwsg. Sonia am Simon Slade—am ei thad—ac am ei nol adref.

Mae ei gwyneb yn awr yn gwrido—mae yn cwynfan—ac yn taflu ei breichiau oddiamgylch yn aflonydd.

Siariada eilwaith. Dywed fod Mr. Slade yn edrych yn ddig arni. Nad oedd un amser felly pan yn cadw y felin—nad oedd yn ei chymeryd ar ei liniau yn awr gan dynu ei law ar hyd ei gwallt, fel yr arferai wneyd. Dywed y dymunai pe nad elai ei thad i dy Mr. Slade—yna gwaedda mewn llais cyffrous—"Peidiwch, peidiwch, Mr. Slade; O! O! fy mhen! fy mhen!"

Dilyna ychydig o ebychiadau mewn tôn gwynfanus; yna anadla y plentyn yn esmwyth drachefn. Ond nid yw y gwridwch yn ymadael â'i gruddiau—a phan y rhydd Mrs. Slade (o lygaid yr hon y treigla y dagrau yn barhaus) ei llaw yn ysgafn ar ei hwyneb, y mae hi yn ei gael yn boeth gan y dwymyn.

"A welodd y doctor hi heddyw, Ffanny?"

"Naddo, ma'am."

"Dylai ei gweled ar unwaith. Mi af i'w

nol;" a chyfyd Mrs. Slade yn frysiog gan adael yr ystafell.

Yn mhen ychydig funudau, dychwela, a Dr. Green gyda hi, yr hwn a eistedd i lawr gan syllu ar wyneb y plentyn gyda gwedd feddylgar. Yna y mae yn teimlo ei gwaedgur—ysgydwa ei ben, gan edrych yn fwy difrifol fyth.

"Er's pa faint o amser y mae wedi cael y *fever?*" gofyna.

"Trwy y dydd, syr."

"Dylasech anfon am danaf yn gynt."

"O, doctor! oes dim perygl gobeithio?"

Mae Mrs. Morgan yn ymddangos fel wedi cael dychryn.

"Mae hi'n bur sal—pur sal, Mrs. Morgan."

Siarada y plentyn eto,—"yr ydych wedi addo, nhad; nid wyf wedi mendio eto. Peidiwch a myn'd, nhad—peidiwch. Dyna fo wedi myn'd! Wel! wel! Rhaid i mi fyn'd yno. O dear! Mor wan ydw i wedi myn'd! Nhad! nhad!" Neidia y plentyn i fyny, gan edrych yn gyffrous.

"O, mam! chwi sy' yne?" ymollynga ar ei gobenydd eilwaith, gan edrych yn ymofyngar o'r naill wyneb i'r llall.

"Nhad—ple mae nhad?" gofyna.

"Yn cysgu, cariad."

"O! y mae o? mae yn dda gen i."

Ceua ei llygaid yn flinedig.

"A ydych yn teimlo poen, Mary?" gofyna y doctor.

"Ydwyf, syr,—yn fy mhen—mae'n boenus iawn."

Mae y waedd "nhad" wedi cyrhaedd clustiau Morgan, yr hwn sydd yn cysgu yn yr ystafell nesaf. Mae yn adnabod llais y doctor, "A ydych yn teimlo poen?" Mae wedi clywed y cwestiwn yn eglur, a'r atebiad gwanaidd hefyd. Mae yn ddigon sobr i i'w ofnau gael eu cynhyrfu ar unwaith. Nid oes dim yn y byd mor hoff ganddo a'i blentyn. Neidia i'r llawr, a rhydd ei ddillad am dano cyn gynted ag y gall —symbylir ei ewynau gweiniaid gan ei bryder.

"O, nhad!" Mae clyw craffus Mary wedi cael allan ei ddyfodiad i'r ystafell—a chroesawa ef gyda gwên siriol.

"A ydyw hi yn wael iawn, doctor?" gofyna Jo, â llais pryderus.

"Mae hi'n bur wael, syr. Dylasech yru am danaf yn gynt." Siarada y doctor yn sarug, a theimla Morgan ei gerydd i'r byw.

Ar ol chwilio i'r achos ychydig yn fanylach, darpara y doctor ryw feddyginiaeth; a chan addaw galw yn gynar boreu dranoeth, â ymaith. Yn fuan y mae Mrs. Slade yn ei ddilyn;—ond cyn ymadael â Morgan, rhydd rhywbeth yn ei llaw, yr hwn, er syndod i'r olaf a dry allan yn gyfwerth a deg dolar. Saetha y dagrau i'w llygaid, a cheidw y trysor yn ei mynwes gan sibrwd "Duw a'i bendithio."

Gweithred o ad-daliad yw hon yn Mrs. Slade, yn tarddu oddiar ddynoliaeth yn gystal a chyfiawnder. Gydag un llaw y mae ei gwr wedi cymeryd bara teulu ei hen gyfaill, ac mae hithau fel hyn gyda'r llaw arall yn ei adferu.

---

## BEIRNIADAETH Y TRAETHODAU

*Ar "Y Cymhwysderau a'r Rhinweddau angenrheidiol mewn Dynion a Merched ieuainc er cyrhaedd Defnyddioldeb a Dedwyddwch yn eu hoes."*

DAETH i law saith o gyfansoddiadau yn dwyn y ffugenwau I. G. A., Un gwan ei feddwl, Alfred, Gefaill o'r llwyn, Y Bachgen ieuanc bochgoch, Juvenis, a Bugail ieuanc.

Ag ystyried fod y cyfansoddwyr yn ieuainc, rhaid dywedyd fod y cyfansoddiadau yn dda iawn; a chydag ymdrech a dyfalbarhad daw y gwanaf o'r awdwyr yn ddefnyddiol a dedwydd yn ei oes. Y mae yn galonogol iawn fod y saith yn derchafu crefydd fel unig ffynonell gwir ddedwyddwch, a'r cymhwysder penaf i gyrhaedd gwir ddefnyddioldeb.

1. I. G. A.—Pur gyffredin, yn dangos anfedrusrwydd i eirio ei feddwl. Rhaid i'r awdwr efrydu gramadeg, ac ymgynefino âg arfer mân eiriau yr iaith.

2. Un gwan ei feddwl.—Y mae yr ysgrif hon yn dangos cryn lawer o ofal, ac eto y mae'r sillebiad yn dra anmherffaith. Gallem feddwl fod yr awdwr yn anghyfarwydd âg ysgrifenu. Os ydyw hon yn un o'i ymdrechion cyntaf, y mae yn bur obeithiol.

3. Alfred.—Gwallus iawn ydyw sillebiad yr ysgrif hon, *hŷn* yn lle *hun*, *rhiw* yn lle *rhyw*, *Dyw* yn *Duw*, *pryderys* yn lle *pryderus*. Y mae yr awdwr hwn yn euog o esgeulusdra anfaddeuol, y mae ganddo luaws o eiriau heb eu gorphen; megys *ieuang*, *addys*, *offeryna*, *foddio*, *brith*, yn lle *ieuaingc* neu *ieuanc*, *addysg*, *offerynau*, *foddion*, *britho*.

4. Gefaill o'r llwyn.—Ysgrif led dda ar y cyfan, ond y mae ei sillebiad yn dra anmherffaith; mae yr awdwr yn dyrysu rhwng y llythyrenau *i*, *u*, ac *y*. Defnyddia y ferf ddwywaith yn afreolaidd; megys, "Y *mae* y rhai hyny, er nad ydynt bobl nerthol, eto y *maent*," &c. Y mae ei arddull yn bur ddiffygiol ac amddifad o gryfder.

5. Y Bachgen ieuanc bochgoch.—Traethawd da yw hwn, ond nid yw yntau heb lithro ar air. Defnyddia *eu* ac *a'u* yn lle *ei* ac *a'i*—lluosog yn lle unigol. Y mae rhai o'i benau yn cynwys y lleill. Ni raid, pa fodd bynag, i fochau y bachgen ieuanc gochi o gywilydd gweled ei draethawd.

6. Juvenis.—Daw Juvenis yn draethodwr rhagorol os cais. Y mae ganddo lawysgrifen gampus, ac y mae ei sillebiad agos yn berffaith. Y mae ei ysgrif yn lanwaith a destlus, a'i arddull yn rhwydd ac eglur. Y mae ei draethawd yn dda, ond yn ein bryd ni, nid y goreu. Ni fynem er dim i Juvenis wangaloni, cofied ei sylwadau ei hun ar ddiwydrwydd ac amynedd.

7. Bugail ieuanc.—Y mae hon yn ysgrif dda iawn, yn gwneuthur cryn gyfiawnder a'r pwnc. Mae'r Bugail yn ysgrifenu yn fwy cryno, ac yn myned yn nes at enaid ei bwnc na'i gydymgeiswyr. Y mae hefyd yn lled rydd oddiwrth wallau, llythyrenol a chystrawenol. Nid *llawer iawn* y mae yn ragori ar Juvenis a'r Bachgen ieuanc bochgoch, ond ar ol eu pwyso gyda phob dyfalwch, yr ydym yn gorfod cyhoeddi fod y fantol yn troi yn ffafr y Bugail. Efe ydyw y teilyngaf o'r wobr. DANIEL EVANS.

ar domen ludw yr hen fyd yma, ar ddiwedd amser, ac yn gwaeddi,—"Ni chollais i ddim, mae fy nhrysor yn y nef."—*Parch. W. Roberts, Amlwch.*

Y BEIBL.—Y mae dynion, y naill ar ol y llall, yn gwella yn feunyddiol mewn celfyddyd. Os aiff un ati i wneyd *locomotive*, fe ddaw rhywun arall a gwneiff un well. Os aiff un arall ati i wneyd *steam engine*, fe ddaw rhywun ar ei ol, a gwneiff un well. Ond am y Beibl—llyfr Duw—y mae wedi dal ei dreial am ddwy fil o flynyddoedd, ac nid oes neb wedi gwneuthur ei well; ie, pe bae hyd yn nod angel o'r nef yn myned i geisio gwneyd ei well, fe äi yn gythraul yn y fan.—*Yr un.*

Y DIAFOL.—Cymerwch ofal rhag i'r diafol wneyd *tool* o honoch. Y mae yn rhaid iddo ef gael dynion i ddwyn ei fwriadau i ben ar y ddaear: ie, rhaid iddo ef gael corff. Yr oedd yn rhaid i Grist gael corff i weithio allan iechydwriaeth dyn; ac y mae yn rhaid i'r diafol gael corff i weithio allan ei amcanion.—*Yr un.*

YR AIL DDYN, YR ARGLWYDD O'R NEF.—Ni bu Crist erioed yn rhy isel i allu dyweyd "Yr wyf yn Arglwydd o'r nef." Yr oedd yn Arglwydd o'r nef pan yn newynu am chwech wythnos. Yr oedd yn arddel yr enw pan yn mysg cythreuliaid, a'r rhai hyny yn ochain o'i gwmpas. Yr oedd yn Arglwydd o'r nef pan yn grogedig ar bren—fe ddeil yr enw byth. O'r nef y daeth cynllun gras—mae trefn dy fywyd di o'r un fan ag yntau ei hun. Yr oedd yn rhaid cael peth o'r nef at dy gadw.—*Yr un.*

CARIAD CRIST.—Pan oedd Crist yn myned i farw ar y groes, disgynai'r angelion o'r nefoedd, yn rhengoedd o gylch y lle, dan wenu, a dyweyd wrth eu gilydd,—"Wel, wel, ni ddarfu ini erioed ddychymygu fod cymaint o gariad ynddo." Naddo wrth gwrs. Paham? Wel, defaid yn y borfa oeddynt hwy yn y nefoedd.—*Parch. D. Jones, Caernarfon.*

DWY EFEILLES.—Y mae pob un sydd yn cael ei anfon i bregethu yn esgor ar ddwy efeilles—angeu â gwae. "Angenrhaid a osodwyd arnaf, a gwae fydd i mi oni phregethaf."—*Parch. Owen Thomas Rolant, Caergybi.*

PECHOD MAWR A PHECHOD BYCHAN.—Dywed rhai nad oes cymaint o niwed mewn pechod bychan a phechod mawr; ond gadewch ini edrych i fewn i'r pwnc. Y môr, a wyt ti yn boddi? O! ydwyf, meddai y môr; mi foddaf bawb ddaw i fy nghyrhaedd. Y llyn, wyt ti yn boddi? O ydwyf, yn boddi pawb ddaw i fy ngafael. Y pwll, wyt ti yn boddi? O ydwyf yn ddiarbed. Afon, wyt ti yn boddi? O ydwyf, fe ŵyr pawb hyny, a ŵyr rywbeth am danaf. Ffynnon, wyt ti yn boddi? Ydwyf, yr wyf finau yn boddi. Felly y mae pechod bychan yn damnio fel pechod mawr.—*Parch. Edward Watkins, Llanidloes.*

## Y GENADAETH IUDDEWIG A SIR FON.

MR. GOL.,—Cefais lythyr heddyw oddiwrth gyfaill o gyffiniau sir Fon, yn cynnwys y llinellau canlynol:—"Rhag ofn na ddygwyddodd i chwi ddarllen llythyr Mr. Donne, yn 'Charles o'r Bala,' dymunaf alw eich sylw ato. Mae yn eglur ei fod yn tadogi llythyr 'Trefnydd' arnoch chwi; cyfeirir atoch yn eglur debygid." Bum i mor hurt beth bynag a darllen llythyr Mr. Donne bob gair heb feddwl unwaith fod y fath gyfeiriad ynddo. Carwn hysbysu fy nghyfaill, Mr. Donne, nad *ysgrifenais*, na *ddarllenais*, ac na *welais* i yr un gair o lythyr "Trefnydd" ond cymaint ag y mae ef (Mr. Donne) wedi ddyfynu o hono yn ei lythyr. Ac os yw ef, neu ereill, yn tadogi y llythyr arnaf, y maent yn camsynied.

Ydwyf, yr eiddoch yn gywir,

THOMAS LEVI.

Ystradgynlais, Mai 12.

[Credwn mai ein dyledswydd ydyw mynegu yn y fan hon ddarfod i ni ddygwydd bod yn nghymdeithas Mr. Donne, rai dyddiau yn ol, pryd y sicrhaodd ni mai nid at Mr. Levi, nac un person arall yn *Nghymru*, yr oedd efe yn cyfeirio yn ei lythyr.—GOL.]

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

### Y DRYDEDD NOSWAITH.

YN awr y mae Morgan a'i wraig yn unig gyda'u plentyn claf. Gwaeth waeth yr ä y *fever*, ac mae gorphwylledd mewn rhan yn cymeryd meddiant o Mary. Siarada bron yn ddibaid. Mae ei holl flinder yn nghylch ei thad. Cyfeiria yn barhaus at yr addewid a wnaeth.

"Ni 'newch anghofio'ch addewid, nhad, 'newch chwi?"

"Na wnaf, f'anwylyd—ni wnaf anghofio," medd Jo.

"Ni wnewch fyn'd allan y nos nes i mi fendio?"

"Na wnaf, cariad."

"Nhad!"

"Beth, f'anwylyd?"

"Dowch yn nes—nid wyf eisio i mam glywed."

Gostynga y tad ei glust i ymyl ei gwefusau. O, fel y cyffroa ac y dychryna! Beth a ddywedodd hi wrtho?—dim ond y geiriau byrion hyn—"Ni wnaf fendio, nhad—'rwyf yn myn'd i farw!" Mae ei ruddfanau anataladwy wedi cyffroi ei wraig nes gwneyd iddi frysio i ochr y gwely. "Beth ydi'r mater, Jo?" gofyna yn bryderus. "Peidiwch a deud, nhad. Ewch i ffwrdd, mam; mae genych chwi ddigon o flinder, beth bynag. Peidiwch a deud nhad."

Ond yr oedd y geiriau wedi dyfod ato fel prophwydoliaeth, ac wedi effeithio y fath bangfeydd o ofnau yn nghalon Jo Morgan fel yr oedd yn anmhosibl iddo ymattal heb ddangos arwyddion o boen. Am foment edrychai yn ngwyneb ei wraig, yna claddai ei wyneb yn nillad y gwely ac wylai yn chwerw.

Fflachiai y gwirionedd, erbyn hyn, trwy feddwl Mrs. Morgan, gan achosi cryndod trwy ei chyfansoddiad oll. Cyn iddi ddadebru, yr oedd llais isel a

soniarus Mary wedi tori ar ddystawrwydd yr ystafell, a chanai—

Iesu ar dy fonwes di
'Rwy' yn rhoddi pwys fy mhen;
Yn dy freichiau 'hedeg wnaf,
Byth i fyw i'r nefoedd wen.

Yn fuan aeth Mary i gysgu drachefn.

"Jo," ebai Mrs. Morgan, wedi enyd o ddystawrwydd a chasglu ychydig nerth—"Jo, os bydd Mary farw ni wnewch anghofio yr achos o'i marwolaeth?"

"O, Ffanny! Ffanny."

"Na'r llaw a'i tarawodd?"

"Anghofio? Byth! Ac os maddeuaf i Simon Slade———"

"Na'r *tŷ* lle y cafodd y tarawiad?" ebai Mrs. Morgan, cyn iddo orphen y frawddeg.

"Nhad! nhad anwyl!" Agorai Mary ei llygaid gan ofyn am ei thad yn awyddus.

"Dyma fi, cariad. Beth sydd?" a symudai Jo Morgan yn nes at y gwely.

"O! ydych chwi yne, nhad? Yr oeddwn yn breuddwydio eich bod wedi myn'd allan; a— a— ond ewch chwi ddim, ewch chwi, nhad?"

"Nag af, cariad—nag af."

Chwareuai gwên siriol ar wyneb y plentyn, a cheuodd ei llygaid, gan syrthio i gwsg esmwythach drachefn.

"'Rwy'n meddwl ei bod yn well," ebai Morgan, fel y crymai i wrandaw ei hanadliad esmwyth.

"Mae hi'n edrych felly," ebai Mrs. Morgan.

"Rwan Jo, ewch i'ch gwely. Mi orweddaf fi yma hefo Mary i fod yn barod os bydd eisieu rhywbeth."

"'Does geni ddim eisio cysgu. 'Rwy'n siwr na fedraf gau fy llygaid. Gan hyny, gadewch i mi aros i fyny hefo Mary—yr ydych chwi wedi blino."

Edrychai Mrs. Morgan yn graffus yn ngwyneb ei gwr. Yr oedd ei lygaid yn ddysglaer anarferol—a chanfyddai rhyw *nervousness* o gylch ei wefusau.

"Mae'n rhaid i chwi fyn'd i'ch gwely, Jo," siaradai yn benderfynol. "Ni chewch aros i fyny hefo Mary. Gan hyny, ewch y foment yma." A thynai ef braidd trwy orfod i'r ystafell nesaf.

"'Dydi ddim *use*, Ffanny. 'Does yr un winc o gwsg yn fy llygaid. Rhaid i mi fod yn effro. Gan hyny, cysgwch chwi dipyn."

Hyd yn nod pan y siaradai yr oedd rhyw ofn i'w weled yn ysgydwad ei freichiau a'i ysgwyddau, ac fel yr elai i mewn i'r ystafell—trwy orfodaeth ei wraig—dywedai, "Beth ydi nyne?"

"Yn m'hle?" gofynai Mrs. Morgan.

"O, 'rwy'n gwel'd—dim byd. Dim ond un o fy hen fotasau. Yr oeddwn yn meddwl mai cloben o gath ddu oedd yne."

O! y fath arswyd a ddaliai galon ei wraig anhapus. Yr oedd yn adnabod yn rhy dda yr arwyddion o'r gwallgofrwydd dychrynllyd yr hwn a oddiweddasai ei gwr ddwywaith o'r blaen.

"Ewch i'ch gwely, Jo,—ewch gynted ag y medroch."

Yr oedd Morgan, erbyn hyn, yn oddefgar yn nwylaw ei wraig, ac ufuddhai iddi bron fel plentyn. Yr oedd wedi agor dillad y gwely, ac ar fedr myn'd iddo, pan y neidiai yn ei ol yn frawychus.

"'Does dim yne, Jo. Beth ydi'r mater hefo chwi?"

"Wel, wn i ddim yn siwr, Ffanny," a thrystiai ei ddannedd yn eu gilydd pan y siaradai. "Yr oeddwn yn meddwl fod clamp o lyffant dan y dillad."

"Mor ffol yr ydych!" eto yr oedd dagrau yn dallu ei llygaid wrth ddyweyd. "Dydi o ddim ond dychymyg. Ewch i'ch gwely a cheuwch eich llygaid. Gwnaf gwpanaid arall o goffi cryf i chwi. Hwyrach y gwna hwnw ddaioni i chwi. Nid ydych ond ychydig yn ofnus. Mae saldra Mary wedi eich cynhyrfu."

Edrychai Jo yn wyliadwrus wrth wthio ei draed i'r gwely.

"Yr ydych yn gwybod nad oes dim yn eich gwely —edrychwch!"

A thaflai Mrs. Morgan holl ddillad y gwely gydag un ysgytiad i'r llawr.

'Rwan! edrychwch eich hunan. Ceuwch eich llygaid," ychwanegai, fel y taenai y dillad trosto ar ol iddo orwedd. "Ceuwch nhw'n dŷn, a chedwch nhw felly nes i mi dd'od hefo'r coffi i chwi. Gwyddoch cystal a minau nad ydi o ddim byd ond dychymyg."

Ceuodd Morgan ei lygaid yn dŷn—a thynodd y dillad dros ei ben.

"Byddaf yn f'ol mewn ychydig funudau," ebai Mrs. Morgan, gan fyned yn frysiog tua'r drws. Ond cyn iddi adael yr ystafell trodd ei phen ac edrychodd yn ol. Dyna lle yr eisteddai ei gwr yn unionsyth, gan edrych yn frawychus.

"Peidiwch, Ffanny! peidiwch myn'd i ffwrdd!" gwaeddai yn ddychrynedig.

"Jo! Jo! p'am y byddwch mor ffol? Gwnewch orwedd a chau eich llygaid. Dyna! 'rwan!" ebai Mrs. Morgan, gan roddi ei llaw ar ei ben a'i wasgu yn dŷn. "Fase dda geni dase Doctor Green yma," ebai Morgan. "Medrai ef roi rhywbeth i mi."

"A gaf fi fyn'd i'w nol?"

"Ewch, Ffanny! Brysiwch."

"Ond 'newch chwi ddim aros yn eich gwely."

"Gwnaf, mi wnaf, 'rwan," gan dynu y dillad tros ei wyneb. "Mi 'rosaf fel hyn nes dowch chwi yn ol. Rhedwch, Ffanny, a pheidiwch ac aros munud."

Heb aros dim aeth Mrs. Morgan allan o'r ystafell, a chan gymeryd hen *shawl* dros ei phen, rhedodd yn gyflym i dŷ Doctor Green, yr hwn nid oedd yn mhell oddi yno. Deallodd y doctor ar un gair sefyllfa alarus ei gwr, ac addawodd ddyfod yno yn ebrwydd. Rhedodd yn ei hol yn gyflymach nag y daethai—a'i chalon yn curo gan bryder. Oh! y fath waedd ofnadwy gyrhaeddodd ei chlustiau pan ydoedd o fewn ychydig latheni i'w thŷ. Adwaenai y llais—a bu agos iddi lewygu. Rhoddodd un rhuthr—a'r foment nesaf yr oedd yn yr ystafell lle y gadawsai ei gwr. Ond nid oedd efe yno! A'i hanadl yn ei gwddf aeth i'r ystafell lle y gorweddai Mary bach. Ddim yma!

"Jo! Jo!" galwai mewn llais gwanaidd. "Dyma fo, mam!" Yn awr gwelai fod Jo wedi dringo i'r gwely tu ol i'r eneth glaf, ac fod ei llaw hithau wedi ei thynu yn dŷn am ei wddf.

"'Newch chwi ddim gadael iddyn nhw fy niweidio —'newch, cariad?" meddai y dyn truenus.

"Ddaw dim byd i chwi, nhad," atebai Mary mewn tón a ddangosai fod ei meddwl yn glir, ac yn berffaith ymwybodol o gyflwr drwg ei thad.

"O! f'angyles—f'angyles Mary," meddai mewn llais crynedig. "Gweddïwch trosta i, fy mhlentyn. Oh! gofynwch i'ch Tad yn y nefoedd am fy ngwared i rhag y creaduriaid ofnadwy yna. Cedwch allan!" meddai gan edrych tua'r drws, "Ewch i ffwrdd! Chewch chwi ddim d'od i mewn yma!"

"Fy nhad anwyl!" meddai y plentyn, gan roddi ei dwylaw o amgylch ei wddf, "chaiff dim dd'od atoch chwi."

Yn mhen ychydig funudau yr oedd pob peth yn ddystaw. A phan nesaodd Mrs. Morgan i ymyl y gwely deallodd ei fod yn cysgu. O, gwsg! cwsg! Mor daer y gweddïodd, mewn amser a basiodd, am iddo gael cysgu, ac eto ni ddeuai cwsg ato am oriau —ïe, diwrnodiau, er rhoddi iddo gwsg-gyfferïau cryfion—nes oedd natur wedi ei dyhysbyddu, ac yna y cai cwsg ymdrechfa galed gyda marwolaeth. Ond, yr oedd yn cysgu! O, y fath "ddiolch i Dduw" gwresog a esgynai o galon ei anhapus wraig.

Yn fuan, clywai Mrs. Morgan droediad agosaol y doctor; a chyfarfyddodd ef wrth y drws. Hysbysodd iddo fod ei gwr yn cysgu.

"Mae hyny'n dda, os gwnaiff ddal i gysgu," ebai y doctor yn galonog.

"Ydych chwi'n meddwl y gwnaiff o, doctor?" gofynai yn bryderus.

"Fe all. Ond allwn ni ddim gobeithio yn rhy gryf. Fe fyddai yn rhywbeth pur anarferol."

Aeth y ddau yn ddystaw i ystafell y cleifion. Yr oedd Morgan yn cysgu fyth, ac yr oedd yn eglur wrth ei anadliad dwys ei fod yn cysgu yn drwm. Yr oedd Mary hefyd yn cysgu, a'i gwyneb ar wyneb ei thad, a'i dwylaw fyth am ei wddf. Cyffyrddodd yr olygfa hyd yn nod galon y doctor, a goleuodd ei lygaid. Arhosodd y doctor am yn agos i haner awr; a chan y parhai Morgan i gysgu, aeth ymaith gan adael cyfferi i'w rhoddi iddo yn uniongyrchol—ac addawai alw bore dranoeth.

Mae y cloc wedi taraw haner y nos, ac ni a adawn y wyliadyddes unig a phruddaidd gyda'r rhai claf.

---

Yr oeddwn yn eistedd a phapyr newydd yn fy llaw—nid yn darllen, ond yn myfyrio—yn y "Black Lion," yn hwyr y prydnawn y cymerodd y dygwyddiadau a ddarluniwyd le.

"P'le mae'ch mam?" clywais Simon Slade yn gofyn yn yr ystafell nesaf.

"Mae hi wedi myn'd allan i rywle," atebai ei ferch Flora.

"I b'le?"

"Wn i ddim."

"Er's faint mae hi ffwrdd?"

"Er's dros awr."

"A wyddoch chwi ddim i b'le mae hi wedi myn'd?"

"Na wn, syr."

Ni ddywedwyd dim ychwaneg, ond yr oeddwn yn clywed y tafarnwr yn cerdded yn drwm yn ol a blaen ar draws yr ystafell am rai munudau.

"Wel, Ann! lle yr ydych chwi wedi bod?" Yr oedd drws yr ystafell wedi agor ac wedi cau.

"Lle y b'aswn yn leicio i chwi fod hefo mi," ebai Mrs. Slade yn sarug.

"Yn lle?"

"Hefo Jo Morgan."

"Hym!" Ni chyrhaeddodd ond yr ysgothiad hwn fy nghlustiau. Ond yr oeddwn yn clywed Simon yn rhüo rhywbeth yn ei gorn, i'r hyn yr atebai Mrs. Slade yn uchel—

"Os na fydd gwaed y plentyn yna yn glynu wrth eich dwylaw trwy eich oes, gellwch fod yn ddiolchgar."

"Beth ydych yn feddwl?" gofynai yn gyflym.

"Yr hyn a ddywedais. Mae Mary fach yn bur sâl."

"Wel, beth am hyny?"

"Llawer. Mae y doctor yn dyweyd ei bod mewn perygl mawr. Mae y toriad ar ei phen wedi ei thaflu i *fever* drom, ac mae hi allan o'i phwyll. O, Simon! pe buasech wedi clywed yr hyn a glywais i heno."

"Beth?" gofynai mewn tôn duchanllyd.

"Mae hi o'i phwyll, fel y dywedais, ac yn siarad llawer am danoch chwi."

"Am dana i! Wel, beth oedd gyni hi i'w ddyweyd?"

"O! d'wedodd mor *pitiful*—'Mi leiciwn dae Mr. Slade yn peidio edrych mor ddig arna i.' 'Doedd o ddim felly pan oeddwn i 'n myn'd i'r felin. 'Dydi o ddim yn y nghym'yd i ar ei lîn 'rwan, ac yn rhoi law ar y mhen i.'"

"Ddywedodd hi felly?" gofynai Slade yn gynhyrfiol.

"Do, a llawer iawn 'chwaneg. Gwaeddodd allan unwaith, 'O peidiwch, Mr. Slade! peidiwch! Fy mhen! fy mhen!' O, yr oedd yn gwneyd i fy nghalon waedu! Na' i byth ei anghofio, Simon—beth pe bae hi'n marw?"

Bu dystawrwydd hir.

"Dae ni'n ol yn y felin," ebai Mrs. Slade.

"Dyna chwi! Ydw i ddim eisio clywed nyne eto," ebai Slade yn gyffröus. "Yr wyf wedi gwneyd *slave* o honaf fy hun ddigon o hyd."

"Yr oedd genych gydwybod glir beth bynag," ebai ei wraig.

"Tewch, 'newch chwi!" ebai Slade yn ddigllon. "Mi 'nae rywun feddwl wrth y'ch clywed chwi'n siarad mod i wedi tori pob gorchymyn yn y gyfraith."

"Mi 'newch dori calonau yn gystal a gorchymynion os ewch chwi'n mlaen fel yr ydych wedi dechre."

Siaradai Mrs. Slade yn ddigyffro, ond gyda llymder digyffelyb. Atebodd Simon hi gyda rhegfa, a gadawodd yr ystafell gan glepian y drws ar ei ol. Yn y dystawrwydd a ganlynodd, ymneillduais i'm hystafell, a gorweddais am awr yn effro yn myfyrio ar yr hyn yr oeddwn newydd ei glywed. Y fath fyd o ddadguddiad oedd yn yr ymddyddan fer rhwng y tafarnwr a'i wraig!

---

## HOLIADAU AR DDAMMEGION CRIST YN MAT. XIII.

*Cyflwynedig i'r Ysgolion Sabbothol.*

DAMMEG YR HAUWR.

Beth yw dammeg?

Beth yw y gwahaniaeth rhwng dammeg a chwedl (*fable*)?

Beth yw y gwahaniaeth rhwng dammeg a diareb?

Beth yw y gwahaniaeth rhwng dammeg ac alleg (*allegory*)?

A oedd dysgu mewn dammegion yn ddull arferedig?

A oes genym engreifftiau yn yr Hen Destament o rai yn llefaru mewn dammegion?—enwch esiamplau.

Paham y llefarai Crist mewn dammegion?—enwch dri neu bedwar o resymau.

Pa atebiad a roddes ef ei hunan i'w ddysgyblion ar hyn?

A oedd efe yn arfer llefaru mewn dammegion o'r dechreuad?

Pa un yw y ddammeg gyntaf a lefarodd Efe?

Pa un ai y ddammeg hon, ynte y bregeth ar y mynydd, a draddododd Efe gyntaf?

Pa le yr oedd Crist pan lefarodd y ddammeg hon?

Pa nifer o ddammegion sydd yn y bennod hon?

A lefarwyd hwy oll ar yr un adeg?

ynwr Lloegr, archodd i'r argraff Cap Rhyddid (*Cap of Liberty*) gael ei osod ar y papyrau a ddefnyddid gan y llywodraeth.

Yn fuan wedi adferiad Charles II., mewn amgylchiad yn galw arno ddefnyddio papyr at ryw negesiaeth, dygwyd rhai o'r papyrau hyny iddo. Wrth edrych arnynt, gofynodd eu hystyr, ac wedi ei hysbysu dywedodd—"*Take it away, I'll have nothing to do with a fool's cap.*" Dyna ydyw gwreiddiad y term *foolscap*, yr hwn a roddwyd byth ar ol hyny ar ysgrif-bapyr oddeutu 16 wrth 13 o fodfeddi.

## YSTORI AM Y DOETHAWR AGASSIZ.

GWAHODDWYD y Doethawr i draddodi darlith i Hoeddiadfa (*Lyceum*). Gwrthodai yntau fyned, oherwydd fod traddodi areithiau yn ei anghymwyso at ei efrydiaethau arferol Tasgai y person a genadwyd i fyned i ofyn iddo, arno ddyfod, a thuagat lwyddo, dybygai, i'w gael, dywedai—Gallaf eich sicrhau y bydd y gymdeithas yn barod i'ch talu yn anrhydeddus am ddyfod "Nid ydyw hyny yn gymhelliad yn y byd i mi ddyfod," ebai Agassiz; "fedra i ddim fforddio gwastraffu fy amser i enill arian!"

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

### Y BEDWAREDD NOSWAITH.

"I B'LE yr ydych yn myn'd, Ann?' gofynai y tafarnwr. [Amser—ychydig wedi iddi dywyllu].

"'Rwy'n myn'd i edrych am Mr. Morgan," atebai ei wraig.

"I beth?"

"'Rwy'n dymuno myn'd," atebwyd.

"Wel, dydw i ddim yn dymuno i chwi fyn'd," ebai Slade, yn benderfynol.

"'Does gen i ddim help am hyny, Simon. Mae Mary bron a marw, ac mae Jo mewn sefyllfa ofnadwy. Mi ddylwn fyn'd yno, ac fe ddylech chwithau hefyd, o ran hyny. Fe fu amser pe base gair yn d'od atoch fod Morgan neu ei deulu mewn trallod y b'asech" ——

"Tewch, 'newch chwi?" ebai y tafarnwr, yn ddigllon. "Fyna i ddim i chwi bregethu i mi fel hyn o hyd."

"O, wel, ynte; peidiwch ag ymyraeth dim hefo fi, Simon; dyne sy' geni i i'w dd'eud. Fe ddylwn fyn'd fel y d'wedais,—ac 'rwyf am fyn'd."

Ymaith â Mrs. Slade, a throdd Simon ei gefn arni, gan ruo yn ei gorn. Daeth ychydig gamrau brysiog a Mrs. Slade yn fuan at gartref truenus y meddwyn tlawd, gwraig yr hwn a'i cyfarfu wrth y drws.

"Sut mae Mary?" oedd gofyniad difrifol yr ymwelyddes.

Ceisiodd Mrs. Morgan ei hateb, ond er y symudai ei gwefusau ni ddeuai dim sŵn allan. Gwasgodd Mrs. Slade ei llaw yn serchog, ac aeth gyda hi i'r ystafell lle y gorweddai y plentyn.

Yr oedd un tremiad ar ei gruddiau gwelw yn ddigon i ddarbwyllo Mrs. Slade fod angau eisoes wedi gosod ei fysedd oerion ar ei chyfansoddiad.

"Sut yr ydych chwi, cariad?" gofynai, fel y gwyrai trosti, gan ei chusanu.

"Gwell, diolch i chwi," sisialai Mary.

Yna sefydlai ei llygaid ar wyneb ei mham, gan edrych yn ofyngar.

"Beth sydd, cariad?"

"Ydi nhad ddim wedi deffro eto?"

"Nag ydi, calon."

"Neiff o ddim deffro yn fuan?"

"Mae o 'n cysgu yn bur drwm. Dydw i ddim yn leicio ei ddeffro."

"O, na: peidiwch a'i ddeffro. Yr oeddwn yn meddwl ei fod wedi deffro."

Yna cauodd ei hamrantau yn flinedig. Bu dystawrwydd am enyd; yna dywedai Mrs. Morgan wrth Mrs. Slade, mewn llais isel,—

"O, ni gawsom helynt garw hefo Jo druan, neithiwr Bu raid i mi nol y doctor ato, a'i adael ei hunan; ac erbyn i mi dd'od yn f'ol yr oedd wedi myn'd at Mary i'w gwely, a hithau druan bach, â'i dwylaw am ei wddf, yn treio ei gysuro Ac fel hyn fe gysgodd am hir amser. Wedi i'r doctor ddwad a'i gael yn cysgu, gadawodd rhywbeth iddo i'w gymeryd, ac aeth i ffwrdd. Yr oeddwn yn gobeithio y buasai yn para i gysgu;—ond oddeutu haner y nos dyma fo yn deffro, ac yn neidio o'r gwely mewn dychryn mawr, gan waeddi yn arswydus. Deffrôdd hyn Mary druan, a dychrynodd yn fawr. Mae hi wedi myn'd yn waeth byth ar ol hyny, Mrs. Slade.

"Fel yr oedd yn rhuthro tua'r drws, dal ais ef â'm holl nerth, gafaelais ei fraich. Gwaeddodd Mary arno, gan dreio ei berswadio i dd'od yn ol. Nid heb helynt fawr y cafodd ef i dd'od yn ol i'r gwely.

"Heb aros moment rhoddais iddo yr hyn a adawodd Doctor Green. Cymerodd ef yn rhwydd. Ond buom mewn helynt mawr hefo fo trwy y nos. C'ododd chwe gwaith o'i wely, a pherswadiodd Mary ef i dd'od yn ol bob tro. Yr oeddwn yn parhau i roi y *morphine* iddo fel y gorchymynodd y doctor, ac erbyn y bore yr oedd wedi gwneyd ei effaith arno. Aeth i gysgu yn drwm, ac mae'n cysgu byth er hyny;—ac 'rwy'n dechreu teimlo yn anesmwyth rhag ofn na wnaiff o byth ddeffro. Clywais am y fath beth wedi dygwydd."

"Edrychwch ydi nhad wedi deffro," ebai Mary, gan godi ei phen oddiar y gobenydd. Nid oedd wedi clywed yr ymddyddan rhwng ei mham a Mrs. Slade, oblegid yr oeddynt yn siarad yn lled isel.

Aeth Mrs. Morgan at y drws, ac edrychodd i'r ystafell lle y gorweddai ei gŵr.

"Mae o'n cysgu o hyd, cariad," meddai, wrth ddychwelyd at y gwely.

"O! mi leiciwn iddo ddeffro. Mi leiciwn ei weled. 'Newch chwi mo'i alw fo, mam?'

"'Rwyf wedi ei alw lawer gwaith. Ond mae y doctor wedi rhoi rhywbeth iddo i gysgu. Fedr o ddim deffro yn fuan."

"Mae o 'n cysgu yn hir iawn;—ydych chwi ddim yn meddwl hyny, mam?"

"Ydi, Mary; ond gore oll iddo fo. Fe fydd yn well ar ol deffro."

Cauodd Mary ei llygaid eilwaith. Mor welw oedd ei gruddiau—mor ddwfn yr oedd ei llygaid wedi suddo—y fath gyfnewidiad oedd yn ei holl wynebpryd!

"'Rwyf wedi ei rhoi i fyny, Mrs. Slade," sisialai Mrs. Morgan, wedi ei gorchfygu gan deimlad. "'Rwyf wedi ei rhoi i fyny! Mae y gwaethaf trosodd: ond O! mae fy nghalon yn hollti! Fy mhlentyn anwyl! yn fy holl helynt yr oedd hi yn fy nghysuro ac yn help i mi!"

"Nhad!, nhad!" gwaeddai Mary yn gyffrous.

Trodd Mrs. Morgan at y gwely, a chan roddi ei llaw ar ei braich, dywedai.—

"Mae o 'n cysgu 'n drwm o hyd, cariad."

"Nag ydi o ddim, mam. Mi clywais o 'n symud. Ewch i edrych a ydi o ddim yn ddeffro."

Er mwyn ei boddloni, aeth y fam allan o'r ystafell, ac er ei syndod gwelai ei gŵr yn eistedd â'i lygaid yn llydain agored.

"Beth mae Mary eisio gen i?" gofynai.

"Mae hi eisio eich gweled. Galwodd arnoch lawer gwaith. A gaf fi dd'od a hi yma?"

"Na, mi wisgaf am danaf."

"Gwell i chwi beidio. Yr ydych wedi bod yn sâl."

"O, na, dydw i ddim yn teimlo fy hun yn sâl."

Gwisgodd Morgan am dano, a thrwy gymorth ei wraig, llusgodd ei gorff crynedig i'r ystafell lle y gorweddai Mary.

"O, nhad!" y fath sirioldeb ddenai dros ei hwynebpryd!—"'Rwyf wedi bod yn dysgwyl am danoch cyhyd. Yr oeddwn yn meddwl na 'naech byth ddeffro. Cusanwch fi, nhad."

"Beth alla' i neud i chwi?" gofynai Morgan fel y gosodai ei wyneb ar y gobenydd wrth ei hochr.

"Dim, nhad. Dydw i eisio dim. 'Doedd gen i ond eisie eich gweled."

"O, nhad anwyl! yr ydych yn wastad wedi bod mor dda wrtha i," ebai y plentyn, yn dyner, gan roddi ei llaw fechan ar ei wyneb.

"O, naddo! Fu'm i erioed yn dda wrth neb," ebai Morgan yn dorcalonus fel y codai ei hunan oddiar y gobenydd.

O! fel y teimlai Mrs. Slade pan eisteddai yn dyst dystaw o'r olygfa hon!

"Dydech chwi ddim wedi bod yn dda wrthych eich hunan, nhad; ond yr ydych wedi bod yn dda wrthom ni 'n wastad."

"Peidiwch, Mary, peidiwch a son am hyny," ebai Morgan. "Dywedwch mod i wedi bod yn ddrwg—yn ddrwg iawn. O, Mary anwyl! pe b'aswn mor dda a chwi, b'aswn yn leicio marw a gadael yr hen fyd drwg yma. O! na f'asai yma ddim licar i'w yfed—dim tafarnau—dim *bar-rooms*! O, *dear!* na fawn i wedi marw!"

Dododd y dyn truenus ei wyneb drachefn yn nillad y gwely, ac wylodd yn chwerw.

Y fath ddystawrwydd llethol, am enyd, a deyrnasai tros yr ystafell.

"Nhad!" Torwyd y dystawrwydd gan Mary. Yr oedd ei llais yn glir a chroew. "Nhad, mae gen i eisio d'eud rhywbeth wrtha chi."

"Beth ydi o, Mary?"

"Fydd neb i'ch nol chwi adref, nhad." Erbyn hyn crynai ei gwefusau, a llanwai y dagrau ei llygaid.

"Peidiwch a siarad am hyny, Mary. Dydw i ddim am fyn'd allan nes i chwi fendio. Ydych chwi ddim yn cofio i mi addo?"

"Ond nhad"—petrusai.

"Beth, cariad?"

"'Rwy'n myn'd i ffwrdd i adael y mam a chwithau."

"O, na, Mary, peidiwch a d'eud hyny! Fedrwn ni ddim gadael i chwi fyn'd, cariad," ebai Morgan, mewn llais toddedig.

"Mae Duw wedi ngalw i." Dywedai y geiriau yn dra difrifol, a throai ei llygaid i fyny yn addolgar.

"O, na fae o yn fy ngalw ina! O, mi ddymunwn iddo fy ngalw ina!" gruddfanai Morgan gan guddio ei wyneb rhwng ei ddwylaw. "Pa beth a wnaf wedi i chwi fyn'd? O, dear!"

"Nhad," siaradai Mary yn dawel drachefn. "Dydych chwi ddim yn barod i fyn'd eto. Fe 'neiff Duw adael i chwi fyw yn hwy i chwi 'neud eich hunan yn barod."

"Sut y medraf 'neud fy hunan yn barod heb i chwi fy helpio i, Mary?"

"'Rwy' wedi treio eich helpu, nhad,—do lawer gwaith," ebai Mary.

"Do, do, yr oeddych yn treio fy helpio'n wastad"

"Ond, 'doedd o ddim *use*. Yr oeddych yn myn'd allan, ac yn myn'd i'r dafarn fel pe b'asech yn methu peidio myn'd."

Gruddfanai Morgan yn yr ysbryd.

"Hwyrach y medraf eich helpio yn well ar ol i mi farw, nhad. 'Rwy'n eich caru gymaint fel rwy'n siwr y gwneiff Duw adael i mi dd'wad atoch, ac aros hefo chwi i'ch gwylio. Ydych chwi ddim yn meddwl y gwneiff o, mam?"

Ond yr oedd calon Mrs. Morgan yn rhy lawn. Ni ddarfu gymaint a cheisio ateb, ond eisteddai, â'i dagrau yn rhedeg yn afonydd o i llygaid, gan syllu ar wyneb ei phlentyn.

"Nhad, yr oeddwn yn breuddwydio rhywbeth am danoch pan oeddwn yn cysgu heddyw."

"Beth oedd o, Mary?"

"Yr oeddwn yn meddwl ei bod yn nos, a mod inau o hyd yn sal. Yr oeddych wedi addo nad aech allan nes i mi fendio. Ond mi aethoch allan; ac yr oeddwn yn meddwl eich bod wedi myn'd i dafarn Mr. Slade. Ar ol i mi wybod hyn teimlais fy hunan mor gref a phan oeddwn yn iach, a chodais i fyny, gwisgais am danaf, a chychwynais ar eich hol. Ond cyn i mi fyn'd yn mhell, cyfarfyddais â chi mawr Mr. Slade—Nero,—a chwyrnodd arna i mor ddychrynllyd nes i mi ddychrynu, a rhedeg yn f'ol gartref. Ond cychwynais wed'yn, ac eis o gwmpas tŷ Mr. Mason. Ond yr oedd Nero ar y ffordd, a'r tro yma neidiodd i fy nillad, a rhwygodd nhw'n arw. Rhedais yn f'ol wed'yn, a rhedodd yntau ar f'ol hyd y ffordd gartref. Ar ol i mi ddwad at y drws edrychais o'm cwmpas, a dyna lle'r oedd Mr. Slade yn hysio Nero arna i. Gynted y gwelais Mr. Slade —er ei fod yn edrych yn ddig arna i—collais fy holl ofn, a cherddais heibio i Nero, ac yntau yn dangos ei ddanedd, ac yn chwyrnu yn dost o hyd, ond ddaru o mo mrathu i. Treiodd Mr. Slade fy stopio, ond rhedais heibio iddo, nes i mi ddwad at y dafarn, a lle'r oeddych chwi yn sefyll yn drws. Yr oeddych wedi gwisgo am danoch mor hardd. Yr oedd genych het a chôt newydd, a *boots* newydd wedi *pol shio* fel rhai Mr. Hammond. D'wedais, O nhad! chwi ydi hwn? 'Ië, Mary,' medde chwithau, gan fy nghymeryd yn eich breichiau. 'Nid yr hen Jo Morgan, ond Mr. Morgan 'rwan?' Yr oedd pob peth mor rhyfedd! Yr oedd llon'd y *bar room* o *goods*. Yr oedd sein y Black Lion wedi ei thynu i lawr, ac uwch ben y drws yr oeddwn yn darllen eich henw chwi, nhad. O! yr oeddwn mor falch nes i mi ddeffro; ac ar ol y cwbl 'doedd o ond breuddwyd!"

Siaradai y plentyn y geiriau diweddaf yn ddwys a theimladol. Dilynodd cyfwng arall o ddwfn ddystawrwydd—ni thraethai y gwrandawyr prudd yr hyn oedd ar eu calonau. Yr oedd eu teimladau yn rhy ddwys i'w hymadroddi. Llithrodd agos i bum munud heibio; ac yna sisialai Mary enw ei thad, ond heb agor ei llygaid.

Atebodd Morgan, a gostyngodd ei glust.

"Fydd yna neb hefo chwi ond fy mam," ebai Mary—"neb ond fy mam. A mae hi yn crio'n wastad pan fyddwch chwi ffwrdd."

"Wna i mo'i gadael hi, Mary, ond pan fydda i hefo ngwaith," ebai Morgan. "Nid af byth allan y nos eto."

"Yr ydych wedi addo hyny."

"Mi wnaf addo mwy."

"Beth, nhad?"

"Peidio byth myn'd i dafarn eto."

"Byth!"

"Nag af byth. Ac mi wnaf addo mwy eto."

"Nhad?"

"Peidio yfed dyferyn o *liquor* tra byddaf byw."

"O, nhad, anwyl, anwyl!" Gyda banllef o lawenydd taflodd ei hunan ar ei fynwes. Cofleidiodd Morgan hi yn gynes, ac eisteddai â'i wefusau yn seliedig ar ei boch fechan, a hithau yn gorwedd yn ei freichiau can llonydded a marwolaeth. A marwolaeth! Iё, oblegid pan lacaodd Morgan ei freichiau, yr oedd ysbryd ei blentyn yn canu yn nghanol angelion!

## MANION.

LLYFRAU DRWG.—Nid oes lladron gwaeth na llyfrau drwg yn bod. Gall lladron ereill eich yspeilio o'ch arian, ond yspeilia llyfrau drwg chwi o'ch amser, o'ch egwyddorion, o'ch ffydd, o'ch purdeb—o'ch gwir werth.

Dywedai Agar—"Na ddyro i mi na thlodi na chyfoeth," ac y mae hyny yn weddi gan y doeth yn wastad. Y mae ein moddion yn debyg i'n esgidiau: os yn rhy fychain, gwasgant a briwiant ni; os yn rhy fawr maglant a chodymant ni.

GWIRIONEDD.—Dywed Holloway y byddai yr un mor rhesymol i un feddwl am fyned i'w briodi heb garu, ag i un ddechre masnachu heb *advertisio*.

GWIN, GWIN, O WIN CRYF!—"Maent yn dyweyd i mi fod gwin yn cryfhau," meddai John Jones, un diwrnod, "ac eto, wedi i mi yfed tair potel o hono, yr wyf yn rhy wan i sefyll ar fy nhraed."

"Ydyw Mr. Smith i mewn?" gofynai y Gwyddel. "Nag ydyw," oedd yr ateb; "wnewch chwi adael eich enw yma?" "Och! mwrdwr, ydych chwi yn meddwl yr af fi adre heb yr un enw!"

BETH YDYW HEN LANC?—Targed i ddwylaw meinion y rhyw deg saethu ato.

"'Does geni'r un gair arall i'w ddyweyd wrthych, wraig. Fyddai byth yn ffraeo efo ffyliaid." "Na fyddwch, fy ngŵr, yr ydych yn ormod o ffrynd efo ffyliaid i ffraeo efo nhw."

"'Dawn i yn neidio i'r afon yma, ddyliet ti y byddai hi dros fy mhen a nghlustiau i, Jac?" "Byddai dros dy ben di mi wn, ond digon o waith y byddai hi dros dy glustiau di."

LLWNCDESTYN HENLANCYDDOL.—"Dynes"—'Does dim eisieu dyweyd fawr am dani, y mae hi yn ddigon tafodog i siarad drosti ei hun.

Cymhara Solon y bobl i fôr, a'r areithwyr a'r dadleuwyr i'r gwyntoedd, am y byddai y môr yn dawel a llonydd pe na therfysgai y gwyntoedd ef.

Dywed Philo Judaeus fod y synwyrau corfforol yn debyg i'r haul, oblegid fod yr haul yn cuddio y nefoedd, ac yn dadlenu y ddaear; felly y synwyrau corfforol a guddiant bethau nefol, ac a amlygant bethau daearol.

Pan ofynwyd i Philip o Macedon alltudio un o'i ddeiliaid am siarad yn ddrwg am dano, atebodd, "Gwell iddo siarad lle yr adwaenir ni ein dau, na'r lle yr ydym ein dau yn ddyeithr."

Gofynwyd i un o'r athronyddion paganaidd yn mha beth y gwahaniaethai y doeth oddiwrth yr annoeth? Atebodd yntau, "Anfonwch y ddau yn noeth i fysg rhai dyeithr, a chwi a ganfyddwch."

Pan groesodd Alecsander i Asia, rhoddodd roddion lawer i'w gadbeniaid ac ereill, a gofynodd Parmenio iddo, "Syr, pa beth yr ydych yn ei gadw i chwi eich hun?" Atebodd, "Gobaith."

Pan ddangosodd Croesus, yn ei ymffrost, ei drysorau aur i Solon, dywedodd Solon wrtho, "Os daw brenin arall, a chanddo well haiarn na chwi, bydd yn feistr ar yr holl aur yma."

Y MODD I FYW YN DDEDWYDD.—1. Ymdrechwch bob amser i lywodraethu eich nwydau. 2 Treuliwch eich amser yn y modd mwyaf buddiol. 3. Na wnewch neb yn elynion i chwi, a gwnewch eich goreu i gadw pob un yn gyfaill a fyddo wedi bod unwaith felly. 4. Ceisiwch derfynu pob dadleuon, a gwneuthur i fyny rwygiadau. 5. Na fyddwch byth am fyned yn uwch nag y byddo yn gweddu i chwi. Gellir bod yn gysurus heb wneyd dwy ffarm yn un.—*G. W. M.*

## CHWEDL Y GATH A'R LLYGODEN.

A glywsoch chwi chwedl y gath a'r llygoden?
Cewch ynddi ddifyrwch, a gwers yn y fargen.

Fe syrthiodd ryw dro
Lygoden fach wisgi,
Yn swp ar ei phen
I dwba a breci;
Wrth rwyfo yn dyn
Edrychodd i fyny,
A gwelai y gath
Oddiarni yn gwenu.

"O'r anwyl! meistres Pwsi!
A wnei di'n fwyn fy nghodi
I'r lan o'r gerwyn ddofn hon?
Yn wir, 'rwyf bron a boddi."

"Ha! ha! fe'th ddaliwyd, hen ladrones,
Mae'n rhaid it' farw mwy, y llances;
Os *gwnaf* dy gais bwytâf di'n gyfan,
Os *peidio* wnaf ti foddi, druan."

"Ti gai fy mwyta, Pwsi,
Yn wir, os gwnei fy nghodi,
Waith bydd yn oesol warth i'r llwyth,
I'm foddi yn nhrwyth y breci."

Ar ei haddewid estynodd y gath,
Ei phalf i waered gryn haner llath;
Gerfydd ei chopa hi taflodd i'r lan,
Yn sopen ddyferllyd, eiddilaidd a gwan.

"Dyna, ysgwyd ffwrdd y breci,
Tra fwy'n parotoi i'th lyncu."
Ar d'rawiad neidiodd y llygoden
Dros ei phen i mewn i'r agen.

"Nos da, Meistres Pws,"
Meddai'n ddigon difater;
"Nos da, yr hen ladi,
Chwi goll'soch eich swper."

"Tyr'd yma lygoden, gwnest addaw'n ddiymod."
"Ha, ha, nid oedd hono ond *addewid mewn diod*."

Chwychwi bobl ieuainc, 'n enwedig rianod,
Gochelwch bob amser "ADDEWID MEWN DIOD."

(*O 'Delyn y Plant.'*)

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

### Y BEDWAREDD NOSWAITH.

Y BEDWAREDD noswaith oedd hi i mi fod yn *bar-room* y Black Lion. Nid oedd y cwmni yn lluosog, nac mewn ysbryd pur fywiog ychwaith. Yr oedd pawb wedi clywed am saldra Mary Morgan, yr hwn a ddilynodd mor fuan ar ol y tarawiad a gafodd gan Simon Slade, fel na phetrusai neb gysylltu y naill gyda'r llall. Mor gyson ydoedd ymweliadau y plentyn wedi bod—ac mor dyner—eto mor nerthol oedd ei dylanwad ar ei thad, fel yr oedd y rhan fwyaf o fynychwyr y Black Lion wedi cymeryd ynddi ddawr nid ychydig; ac yr oedd y driniaeth greulon a dderbyniodd,—a'r saldra a ganlynodd,—wedi mwyhau y dyddordeb hwn i raddau mawr.

"Dydi Jo Morgan ddim wedi dwad i fyny heno," ebai un.

"A dydi o ddim yn debyg o ddwad am beth chwaith," atebwyd.

"P'am ?" gofynai y cyntaf.

"Mae 'nhw'n d'eud fod y dyn befo'r pocar ar ei ol o."

"O, bobol! Mae hyny'n ddychrynllyd. Dyma'r ail neu'r drydedd waith iddo fod ar ei ol o, onide?"

"Ië."

"Mae o'n ddigon tebyg o'i ddal o y tro yma."

"'Nawn i ddim synu."

"Y d——— drwg, fydde fo fater yn y byd. Fe fyddai ei deulu yn llawer gwell hebddo fo."

"Y scamp meddw!" ebai Harvey Green. Yr oedd hwn yn bresennol. "Dydio ddim ond yn ffordd pawb. Gore po cynta y bydd o'r ffordd."

Ni ddywedodd y tafarnwr air. Lled orweddai ar y *bar*, gan edrych yn fwy difrifol nag arferol.

"Tro go anlwcus i chwi oedd hwnyna, Simon. Mae nhw'n d'eud fod y plentyn yn agos i farw."

"Pwy sy'n d'eud hyny?" Cynhyrfodd Simon, a thaflodd drem ddigofus ar y siaradydd.

"Doctor Green."

"*Nonsense!* Ddeudodd Doctor Green erioed y fath beth."

"Do mi ddaru."

"Pwy clywodd o?"

"Y fi."

"Y chwi?"

"Ië."

"Doedd o ddim o ddifri?" Gwelwodd gwynebpryd y tafarnwr.

"Oedd, yr oedd o. Fe gawsom fyd garw yno neithiwr."

"Yn mhle?"

"Yn nhŷ Morgan. Mae Jo yn wallgof—a neb ond Mrs. Morgan, druan, ei hunan gyda fo a'i phlentyn claf, trwy'r nos."

"Mae o yn ei haeddu hi; dyna sy' geni i'w dd'eud." Ceisiai Slade ymddangos yn ddifater.

"Mae hynyna yn siarad go galed," ebai un o'r cwmni.

"Dydw i ddim yn hidio os ydi o. Mae o'n wir. Beth arall allsai fo ddysgwyl."

"Mae dyn fel Jo i dosturio wrtho," ebai un arall.

"'Rydw i yn tosturio wrth ei deulu o," ebai Slade.

"Yn enwedig wrth Mary fach," ebai un yn watwarus—ac achosodd foddhad mawr trwy y *bar-room*.

Cynhyrfodd Slade, a chychwynodd o'r fan yr oedd yn sefyll, gan sibrwd nad oedd wedi deall yr hyn a ddywedwyd.

"Rhwdiwch, Simon, mi glywais siarad go gry' yn swyddfa y cyfreithiwr Phillips heddyw'r bore."

Trodd Slade ei lygaid ar y siaradydd.

"Os bydd y plentyn yna farw, mae'n debyg y bydd raid i chwi sefyll treial am *ddyn-laddiad*."

"Na, geneth-laddiad!" ebe Harvey Green gyda chwerthiniad oer.

"Ond yr wyf yn siarad yn ddifrifol," ebai y llall. "Dywedodd Mr. Phillips y gellid gwneyd achos o hono."

"Doedd hi ddim ond damwain—ac fedr holl gyfreithwyr y byd ei 'neud o yn ddim arall," sylwai Green, gan gymeryd plaid y tafarnwr.

"Nid damwain yn gwbl."

"Cheisiodd o ddim taro yr eneth."

"Dydi hyny o bwys yn y byd. Fe daflodd y *glass* at ben ei thad. Yr oedd bwriad i wneyd niwed; wnaiff y gyfraith fawr o wahaniaeth yn nghylch y person a dderbyniodd y niwed. Peth arall, pwy sydd yn barod i ddweyd nad oedd yn ceisio taro yr eneth?"

"Pwy bynag a ddywed fy mod wedi ceisio mae o'n gnaf celwyddog," ebai y tafarnwr, wedi moni drwyddo.

"Thaflaf i yr un *glass* at eich pen chwi, Simon," ebai y dyn yn ddigyffro. Dydw i ddim yn ei hystyried hi yn ffordd dda o ymresymu, er ei bod yn ffordd dda iawn gan rai dynion i benderfynu cwestiwn pan fyddont wedi eu gwasgu i gongl. Yn awr, o barth i'n cyfaill y tafarnwr, mae'n ddrwg genyf ddyweyd, nad yw ei fusnes newydd wedi gwella llawer ar ei foesau na'i dymher. Mae cryn wahaniaeth ynddo yrwan a phan oedd yn felinydd. Dydi o'n hidio dim byd yrwan am regu a thyngu, a thaflu gwydrau at benau pobl, a phobpeth bron. 'Rwyf yn ofni ei fod yn cymeryd ei wersi mewn ysgol go ddrwg."

"Dydw i ddim yn meddwl fod genych chwi hawl i sarhau dyn yn ei dŷ ei hun," ebai Slade, mewn tôn ychydig yn is nag yn flaenorol.

"Doedd gen i un bwriad i'ch sarhau chwi," ebai y llall. "Doeddwn i ond siarad ar antur, gyda golwg ar eich sefyllfa pe dygid chwi i sefyll eich treial am ddyn-laddiad, a phan ddywedais nad allai neb brofi nad oeddych yn ceisio taro yr eneth."

"Wel, doeddwn i ddim yn meddwl taro yr eneth; a dydw i ddim yn meddwl fod yna un dyn yn y *bar-room* heno yn meddwl hyny."

"Dydw i ddim yn meddwl hyny, yn sicr," ebai y person yr oedd mewn dadl âg ef.

"Na finau."—"Na finau," meddai pawb yn eu tro

"Ond fel yr oeddwn yn dymuno dangos," ychwanegwyd, "ni fydd yr achos mor hawdd ei benderfynu yn y cwrt, pan fydd deuddeg o ddynion—a rheiny efallai oll yn ddieithriaid i chwi—yn eistedd mewn barn ar y weithred. Fe all y dyryswch lleiaf yn y tystiolaethau achosi pethau i edrych mor ddu fel ag i'ch gadael heb ond ychydig iawn o *chance*. 'Rwyf yn meddwl, o'm rhan fy hun, os bydd y plentyn farw, deg i un na fyddwch yn ngharchar y sir."

Yr oeddwn yn sylwi ar y dyn yn barhaus tra y siariadai, ond nid allwn wneyd allan pa un a oedd yn ddifrifol, neu ynte ai ceisio dychrynu Slade yr oedd. Ei fod yn llwyddiannus yn nghynyrchiad yr olaf, oedd yn ddigon amlwg; oblegid newidiai y tafarnwr ei liw yn barhaus, ac yr oedd wedi ei lenwi â dychryn.

"Mae hi yn edrych yn ddu, yn ddigon siwr," ebai un.

"Ië, mae hi? safwn i ddim yn ei esgidiau o am ei gôt," ebai un arall.

"Am ei gôt? 'nawn i ddim am ei holl ddillad a'r Black Lion yn y fargen," ebai y trydydd.

"Ma'n eglur fod yr achos yn dynladdiad. Beth yw y gosbedigaeth?"

"O ddwy i ddeng mlynedd yn y penyd-dŷ," atebwyd yn union.

"Wel, efallai y caiff Slade bump."

"Na, chaiff o ddim mwy na dwy. Fe fydd yn anhawdd profi fod drwg-fwriad ganddo."

"Wn i mo hyny. Mi clywais i o yn rhegu ac yn bwgwth yr eneth lawer gwaith. Chlywsoch chi mono?"

"Do, do," ebai bron bawb yn yr ystafell.

"Well i chwi fy nghrogi i ar unwaith," meddai Slade, gan geisio chwerthin.

Y foment hon agorwyd y drws oedd o'r tu ol i Slade, a gwelwn wyneb pryderus ei wraig yn ymwthio i mewn am foment. Dywedodd rywbeth wrth ei gwr, ac ymddangosai yntau fel yn synu yn ddirfawr, a gadawodd yr ystafell.

"Beth yw y mater 'rwan?" gofynai y naill i'r llall.

"Synwn i ddim nad ydi Mary Morgan wedi marw," sylwai un. "Mi clywais hi yn dyweyd 'marw,'" ebai un arall, yr hwn oedd yn sefyll yn lled agos i'r drws.

"Beth yw y mater Frank?" gofynai amryw fel y deuai mab y tafarnwr i'r ystafell.

"Mae Mary Morgan wedi marw!" atebai y bachgen.

"Druan oedd hi! druan oedd hi!" ocheneidiau un mewn gwir ofid." Mae ei phoen drosedd."

Nid oedd gymaint ag un yn yr ystafell ond Harvey Green heb sibrwd rhyw air o gydymdeimlad ar dderbyniad y newydd galarus.

"Yn awr gyfeillion," ebai un o'r cwmni, "a allwn ni ddim gwneyd rhywbeth i Mrs. Morgan. A fedrwn ni ddim gwneyd pwrs iddi hi?"

"Dyma fo," atebwyd yn union. "Mi roddaf fi ddeg swllt, a dyna nhw," gan dynu allan yr arian, a'u dodi ar y bwrdd.

"A dyna ddeg swllt atynt," atebais inau, gan eu rhoddi yn ochr y rhodd gyntaf. Ac felly yr aeth y casgliad yn mlaen nes ei wneyd yn wyth punt.

"I bwy yr ymddiriedwn yr arian?" oedd y gofyniad nesaf.

Gadewch i mi gynnyg Mrs Slade," meddwn inau. "Hyd eithaf fy ngwybodaeth y mae wedi bod gyda Mrs. Morgan heno. Yr wyf yn gwybod ei bod yn teimlo dyddordeb mawr yn achos Mrs. Morgan."

Boddlonodd pawb o barth dewisiad Mrs. Slade fel un gymwys i drosglwyddo yr arian. Gwnaed ymofyniad â Frank am ei fam, ac atebodd y gallem ei gweled yn yr ystafell nesaf, i'r hon yr aethom. Sylwais fod ei llygaid yn glwyfus, a'i hwynebpryd yn ddangos gofid dirfawr.

"Yr ydym newydd glywed," ebai un o honom," "fod Mary Morgan wedi marw."

"Ydyw, y mae yn rhy wir," atebai Mrs. Slade, yn ofidus. "Yr wyf newydd ddwad oddyno. Druan oedd hi, mae hi wedi gadael yr hen fyd drwg yma."

"Drwg a fu iddi hi," sylwyd.

"Da y dywedasoch," ebai Mrs. Slade, "ei gofal penaf wrth farw oedd am ei hanhapus dad. Buasai yn marw er ei fwyn unrhyw amser."

"Mae yn rhaid bod ei mham bron tori ei chalon. Mary oedd y diweddaf o i phlant."

"Ac eto fe all marwolaeth y plentyn fod o fendith iddi."

"Sut felly?"

"Wel, fe addawodd Jo wrth ei blentyn yn ei munudau olaf—do addawodd yn ddifrifol nad yfai dafferyn o *liquor* byth. Dyna oedd holl flinder Mary. Ond fe symudodd Jo hwn, a bu hithau farw yn esmwyth â'i phen ar ei fynwes. O, foneddigion! yr oedd yr olygfa yr un fwyaf effeithiol a welais erioed."

Ymddangosai pawb fel wedi eu cynhyrfu yn fawr.

"Maent yn bur dlawd a thruenus," ebai un.

"Yn dlawd iawn," ebai Mrs. Slade.

"Yr ydym newydd fod yn gwneyd casgliad i Mrs. Morgan. Dyma yr arian, Mrs. Slade,—wyth punt. Yr ydym yn eu hymddiried yn eich llaw chwi—gwnewch â hwynt fel y gweloch yn oreu er llesiant Mrs. Morgan."

"O, foneddigion! 'rwyf yn diolch i chwi o waelod fy nghalon dros Mrs. Morgan am y weithred haelionus a charedig hon. I chwi nid yw yr aberth ond bychan—iddi hi fe fydd o les dirfawr, yn wir. 'Rwyf yn hyderu y gwnaiff ei gwr droi dalen newydd, ac fe fydd y cynnorthwy amserol hwn yn rhywbeth i ymorphwys arno nes y caiff ryw sefyllfa well nag sydd ganddo yn bresennol. O, foneddigion! gwnewch ymdrechu yn ffafr Jo Morgan. Mae ei ddybenion yn awr yn dda. Mae yn penderfynu cadw addewid ei blentyn, a diwygio ei fywyd. Bydded i'r hyn a'ch cynhyrfodd i wneyd y drugaredd hon eich cymhell i'w wylio, ac os gwelwch ef yn cyfeiliorni, i'w arwain i'r iawn lwybr. O! na fydded i un o honoch ei annog i yfed! ond yn hytrach cymerwch y gwydryn o'i law, ac arferwch eich holl ddylanwad i'w arwain o le y demtasiwn.

"Maddeuwch fy hyfder yn dweyd cymaint," ychwanegai Mrs. Slade, gan wrido yn ddwys. "'Rwyf yn cael fy arwain gan fy nheimladau."

Cymerodd yr arian oddiar y bwrdd, a chychwynodd tua'r drws. "Chwi a ddywedasoch yn dda," atebwyd. "Ac yr ydym yn diolch i chwi am ein hadgoffa o'n dyledswydd."

"Un gair yn rhagor, a maddeuwch i mi am ddyweyd hyny," ebai Mrs. Slade, mewn llais crynedig: "Gwnewch bob ymdrech i achub Jo Morgan, a gwyliwch nad elo un o honoch i gerdded y llwybr y cerddodd Jo ynddo."

Llithrodd Mrs. Slade allan o'r ystafell, a cheuodd y drws ar ei hol.

"Wn i ddim beth fase ei gwr yn ddyweyd am hyn yna," sylwai un ar ol enyd o ddystawrwydd.

"Dydw i ddim yn hidio beth fase fo yn ddweyd, ond mi ddeuda i chwi beth a ddywedaf fi," atebwyd gan un oedd yn gydnabyddus i mi fel un tra hoff o'r gwydryn. "Mae'r hen foneddiges wedi rhoi cynghor da i ni, ac 'rwyf fi fel un am ei gymeryd. 'Rwyf am geisio achub Jo, ac achub fy hunan hefyd. 'Rwyf wedi dechreu cerdded y llwybr y cyfeiriodd ato; ond yr wyf am droi yn f'ol. Gan hyny nos dda i chwi oll; ac os na chaiff Simon Slade chwaneg o fy chwecheiniogau, geill ddiolch i'w wraig am hyny: Duw a'i bendithio hi!"

Tynodd y dyn ei het gyda herc dros ei dalcen, a gadawodd yr ystafell.

Ymddangosai hyn fel arwydd o chwaliad. Ymneillduodd pawb i'w gartref ei hun. Yn fuan ceuwyd drws y *bar room*, a theyrnasai dystawrwydd dros yr holl dŷ. Ni welais mo Slade mwy y noson hono. Yn blygeiniol bore dranoeth gadewais Cedarville; edrychai y tafarnwr yn lled brudd wrth ganu yn iachâ mi, gan ddymuno i mi siwrnai gysurus.

gyfaill iddo yn ol. Parhaodd mewn gweddi am dros awr.

Wedi codi oddiar ei liniau, aeth at y gwely, a gafaelodd yn llaw ei gyfaill. Meddai Melancthon drachefn,—"Luther anwyl, paham na adewch i mi ymadael mewn heddwch?"

"Na, na, Philip, fedrwn ni ddim gwneyd hebddoch chwi," oedd yr ateb.

Galwodd Luther am gawl iddo, a phan oedd yn tasgu arno gymeryd peth o hono, dywedodd, —"Luther anwyl, paham na adewch i mi fyned adref i gael gorphwyso?"

"Fedrwn ni ddim gwneyd hebddoch chwi, Philip," ebai Luther; ac meddai drachefn, "Philip, cymerwch ychydig o'r cawl yma, ac yna byddwch yn well."

Cymerodd ef; daeth yn well yn fuan; cryfhaodd i'w iechyd drachefn, a bu yn llafurus am flynyddoedd wedi hyny gyda'r Diwygiad.

Wedi i Luther ddychwelyd adref hysbysodd ei wraig mewn llawenydd mawr—"Rhoddodd Duw fy nghyfaill Melancthon yn ol i mi mewn atebiad uniongyrchol i'm gweddi."

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

### Y BUMED NOSWAITH.

LLITHRODD agos i bum mlynedd heibio cyn i'm gorchwyliaeth fy ngalw i Cedarville drachefn. Ni wyddwn ond ychydig am yr hyn a gymerodd le yno yn yr yspaid yna—ond yn unig ddarfod i Simon Slade gael ei gyhuddo o ddynladdiad trwy achosion marwolaeth plentyn Jo Morgan. Ond, fodd bynag, trwy ddylanwad llwyddiannus y Barnwr Lyman, fe ddiddymwyd y cyhuddiad, ac ni orfu iddo sefyll ei brawf. Dywedid gan rai pobl ddarfod i'r Barnwr arfer pob dyfais annghyfiawn er rhyddhau Slade o'r cyhuddiad. Nid oedd yr argraff a wnaed ar fy meddwl gan y Barnwr Lyman yn un ffafriol o gwbl. Ymddangosai yn ddyn oer, hunanol, a bydol. Gwelais ar unwaith, wrth ei ymddyddanion gyda'r cyffredin bobl a ddeuai i'r *bar-room*, nad oedd ond gwleidyddwr gwael, arwynebol, a dibrofiad.

Fel y treiglai y cerbyd yn mlaen canfyddwn fod cryn gyfnewidiad wedi cymeryd lle mewn amryw wrthddrychau oedd yn dra adnabyddus i mi. Yr oedd ein ffordd yn myned heibio preswylfod y Barnwr Hammond—y gwychaf a'r mwyaf diwylliedig yn Cedarville; o leiaf, dyna fel yr ystyrid ef yn amser fy ymweliad blaenorol. Ond y foment y syrthiodd fy llygaid ar y lle, a'r amgylc oedd, canfyddais olygfa dra gwahanol. Ai amser yn unig a ddygodd hyn oddiamgylch? neu ynte fy ngynefindra i â gwrthddrychau gwychach a achosai y gwrthdarawiad? Neu a oedd llaw diwylliad wedi sefyll yn wirioneddol?

Y cyfryw oedd yr ymofyniadau yn fy meddwl pan y gwelwn ddyn yn y pillporth ëang a berthynai i'r adeilad. Safai â'i gefn yn erbyn un o'r colofnau—ei het oddiam ei ben—a'i wallt hirwyn wedi ei daflu yn ysgafn ar ei wddf a'i ysgwyddau. Yr oedd ei ben yn blygedig ar ei fynwes, ac ymddangosai fel mewn dwfn fyfyrdod. Fel yr elai y cerbyd heibio, edrychodd i fyny, ac yn y wedd newidiedig, adnabum y Barnwr Hammond. Yr oedd ei brydwedd yn para o hyd yn llewyrchus, ond yr oedd ei wyneb yn deneu a'i lygaid yn suddedig. Yr oedd helbul yn argraffedig ar ei wynebpryd. Helbul! mor annigonol y cyflea y gair yr ystyr! Ah! ar y tremiad cyntaf y fath fyd o flinder a agorid o flaen llygad yr edrychydd. Nid yn ysgafn y troediodd amser yna, fel ar wely o flodau, ond cadarn a haiarnaidd. Gan fod y cerbyd yn rhedeg yn gyflym collais olwg ar y dyn cyfoethocaf yn Cedarville yn fuan. Yn mhen ychydig funudau yr oeddym o flaen y Black Lion, ac fel y disgynwn oddiar y cerbyd, daeth ataf ddyn braenllyd a gwynebgoch, ac ymafaelodd yn fy llaw—ni ddeallais mai Simon Slade ydoedd nes iddo siarad. Nid allwn lai na gwrthgyferbynu ei ymddangosiad presennol a'r hyn ydoedd pan welais ef gyntaf, rhyw chwech o flwyddi yn flaenorol; na helpio dyweyd ynof fy hunan,—"Wel, dyma beth ydyw cadw tafarn?"

Yr oedd pob peth wedi cyfnewid oddifewn ac oddi allan i'r "Black Lion;" a hyny nid er gwell, ond er gwaeth. Yn lle bod pob peth yn lân a phrydferth fel cynt, yr oeddynt yn fudr ac annhrefnus. Yn y *bar-room* yr oedd Gwyddel ieuanc gwisgi, ac estynodd i mi y llyfr yr arferai teithwyr ysgrifenu eu henwau ynddo. Wedi i mi ysgrifenu fy enw, gorchymynodd ar i fy nghoffi gael ei gludo i'r ystafell y bwriedid i mi ei chymeryd yn ystod fy arhosiad. Dilynais y gwas, yr hwn a'm harweiniodd i'r ystafell a feddiannaswn yn ystod fy ymweliad blaenorol. Yma hefyd yr oedd cryn gyfnewidiad, ond nid er gwell. Yr oedd yn llychlyd a budr, a'r arogl yn ffiaidd a drewllyd. Wedi i mi dynu y llwch oddiar fy nillad ac ymolchi, prysurais i lawr, a chymerais gadair, ac eisteddais yn y porth. Yno yr oedd amryw segurwyr, dynion iach a chryf, ond dioglyd, y rhai, os oedd ganddynt rywbeth i'w wneyd, yr oedd yn well ganddynt ddiogi na gweithio. Siglai un o honynt ei hunan yn ol a blaen mewn cadair gan hymio "*Old Folks at Home.*" Gorweddai un arall ar ei wyneb, a'i gorff a'i ysbryd yn rhy ddiog i ysgwyd nac i ganu. Yr oedd y trydydd wedi llithro ei hunan yn ei gadair, a'i draed yn uwch na'i ben yn cael eu cynnal gan un o'r colofnau; tra y cysgai y pedwerydd ar ei gyhyd ar fainc, a'i het am ei wyneb er attal brathiadau y pryfaid.

Er i bob un ohonynt ond y cysgwr fy llygadu pan gymerais fy eisteddle yn eu canol, ni ddarfu i gymaint ag un ohonynt newid yn y gradd lleiaf ei agwedd. Ni chostiai symudiadau y llygad ond ychydig o lafur iddynt, a buont oll foddlon ar yr ymdrech hwn.

"Halo! pwy oedd hwn yna?" gwaeddai un o'r segurwyr yn sydyn, fel y cyflymai dyn mewn cerbyd ysgafn heibio; a neidiodd ar ei draed gan geisio syllu trwy y cwmwl llwch a gyfodasai yr olwynion a'r carnau.

"Welais i mono," ebai y cysgadur, gan rwbio ei lygaid a cheisio deffro ei hunan.

"Pwy oedd o, Mathew?"

Safai y Gwyddel, sef ceidwad y *bar*, erbyn hyn yn y drws.

"Willy Hammond," atebai Mathew.

"Yn wir! Ai dyna ei geffyl newydd triugain punt o?"

"Ië."

"Gafr! un iawn ydi o!"

"Onite? Mae o can ffastied a'i feistr ieuanc."

"Wn i mo hyny," ebai un o'r dynion, dan chwerthin.

"Dydw i ddim yn meddwl fod dim yn y greadigaeth fedr guro Hammond. Mae o can gyflymed a dim welais i."

"Ië, mae o? Ond er y cwbl mae o'n eitha' bachgen, ac yn haelionus i bawb."

"Fe wna ei hen dad gytuno â thi yn y peth ola yna," ebai Mathew.

"Dydw i ddim yn ame, achos y fo sy'n gorfod sefyll y *bills*," atebwyd.

"'Rwyf braidd yn meddwl fod Willy wedi cael y llaw ucha' arno."

"Yn mha fodd?"

"Hammond a'i Fab, ydi hi yn y felin a'r dystyllfa."

"'Rwyf yn gwybod; ond beth am hyny?"

"Wel, fe wnaed Willy yn oruchwyliwr, er mwyn, fel y tybiai yr hen wr, iddo deimlo y cyfrifoldeb, a'i ddofi ychydig."

"Dofi Willy! Fe gymer fwy na hynyna i'w ddofi o. Mae y gurb wedi ei gymwyso yn rhy ddiweddar.

"Ydi, ac fe ŵyr yr hen wr hyny erbyn hyn yn eitha da, 'rwyf yn meddwl, er ei ofid."

"Dydi o byth yn dwad yma 'rwan, ai ydi o, Mathew?"

"Pwy?"

"Y Barnwr Hammond."

"O bobl! nag ydi. Fe fu Slade ac ynte yn ffraeo flwyddyn yn ol, a th'wllodd o byth mo'r drws wed'yn.'

"Rhywbeth yn nghylch Willy a ——." Ni ddywedodd y siaradydd yr enw, ond winciodd yn ddeallgar, ac amneidiodd â'i ben tua'r drws, gan arwyddo rhywun o deulu Slade.

"'Rwyf yn deall felly."

"Wyt ti'n meddwl fod Willy yn hoff o honi?"

Ysgydwodd Mathew ei ysgwyddai, ond ni atebodd.

"Geneth hardd ydi hi," sylwyd, mewn tôn isel. "Mae hi ddigon da i fab Hammond unrhyw ddiwrnod; er pe base hi yn ferch i mi, fe fase yn well gen i ei gwel'd yn Jericho nag yn hoff o'i gwmni o."

"Fe fydd ganddo ddigon o arian iddi. Mi geiff fyw fel brenines."

"Am faint o amser?"

"Taw," ebai Mathew yn ddystaw. "Dyna hi yrwan."

Edrychais i fyny, a gwelwn foneddiges ieuanc a thlos yn agoshau at y tŷ. Deallais ar unwaith wrth ei gwyneb rhadlon a gwylaidd mai Flora Slade ydoedd. O ran teleidrwydd a phrydfferthwch corfforol, yr oedd pum mlynedd wedi gwneyd cynnydd anhygoel arni. Fel yr elai heibio i'r lle yr eisteddwn i'r tŷ, sylwais fod llawer o ôl meddwl a chystudd ar ei hwynebpryd, yr hyn ni wnai ond mwyhau ei phrydferthwch. Cefais fawr foddhad wrth weled y parch a ddangosai y segurwyr iddi pan yr elai heibio.

"Mewn difri', geneth dlos ydi hi," ebai un, mor gynted ag yr aeth i'r tŷ.

"Mae hi'n rhy dda i Willy Hammond, beth bynag," ebai Mathew, "er mor hael a chlyfar y geilw pobol o."

"Dyna 'meddwl inau, atebwyd. "Mae hi mor dda a phur ag angyles; ac yntau?—pw! mae o can waethed ag y meder dyn fod agos."

Rhoddodd ymddangosiad Slade derfyn ar yr ymgom. Ni wnaeth yr ail olwg arno argraff fwy ffafriol ar fy meddwl na'r gyntaf. Yr oedd ei wyneb yn hagr, a phan gymerodd gadair yn fy ochr yr oedd ei anadl ddrewllyd yn dyweyd ei fod wedi myn'd yn yfwr trwm.

"Welsoch chwi Frank y prydnawn yma?" gofynai i Mathew, ar ol i ni ymddyddan ychydig.

"Naddo," oedd atebiad ceidwad y *bar*.

"Mi gwelais i o gyda Tom Wilkins, pan oeddwn yn dywad yma," ebai un o'r dynion oedd yn eistedd yn y porth."

"Beth oedd o'n wneyd hefo Tom Wilkins?" gofynai Slade mewn tôn ofidus. "Dydi o ddim yn meindio llawer pwy fydd ei gwmni."

"Saethu."

"Saethu!"

"Ië. Yr oedd gan bob un o honynt wn adar. Doeddwn i ddim yn ddigon agos atynt i ofyn i b'le yr oedda nhw'n myn'd."

Cynhyrfodd Slade yn fawr wrth y newydd. Wedi iddo sibrwd rhywbeth rhyngddo âg ef ei hun, cyfododd ac aeth i'r tŷ.

"Gallaswn ddeud llawer chwaneg am Frank wrth yr hen law," ychwanegai y dyn," ond waeth tewi."

"Wyr Slade mo haner ei hanes," sylwai Mathew, "y fo ydi y bachgen tosta a welais i erioed."

"Bachgen! Fe fydde yn o arw gan Frank eich clywed yn ei alw yn fachgen."

"Fydda i un amser yn siarad hefo fo, o ran hyny," atebai Mathew, "oblegid pe bae o a minau yn myn'd i ffraeo fe fydde yne helynt o honi—ddaliai yr un tŷ mo'no ni wed'yn."

"Rwyf yn synu na wnai ei dad ymorol am ryw fusnes iddo. Mae y bywyd dioglyd y mae yn ei gael yn siwr o'i ddinystrio."

"Fe fu tu ol i'r *bar* am flwyddyn neu ddwy."

"Do; ac un iawn oedd o am gymysgu gwydriad —ond ———."

"Yr oedd yn gwsmer rhy dda ei hunan?"

"Gwir. Fe feddwodd fel ffwl cyn cyrhaedd ei bymtheg oed."

"Bobl anwyl!"

"Mae o'n ddigon gwir, syr," ebai y dyn, gan droi ataf.

"Ac nid dyna'r cwbl. Chwi wyddoch nad ydi ymddyddanion y *bar-room* o'r chwaeth oreu bob amser. Fe gym'rodd Frank ei ddysg yn fuan; a chyn pen ychydig amser yr oedd yn gystal rhegwr ag un o honynt. Dydw i ddim yn sant fy hunan; ond rwyf wedi teimlo fy ngwaed yn rhedeg yn oer lawer gwaith wrth ei glywed yn rhegu."

"Yr wyf yn tosturio tros ei fam," sylwais; oblegid rhedodd fy meddwl yn union at Mrs. Slade.

"Chwi ellwch," atebwyd. "Rwyf yn meddwl nad oes neb â chalon bruddach yn Cedarville. Diwrnod du oedd o iddi hi pan roddodd Simon Slade y felin i fyny, ac adeiladu tafarn. Yr oedd hi yn erbyn hyny o'r dechreuad."

"Yr wyf yn deall felly."

"'Rwyf yn ei wybod," ebai y dyn." "Mae fy ngwraig wedi bod yn gydnabyddus â hi am flynyddoedd. 'Rwyf yn cofio yn dda pan werthwyd y felin iddi ddod i'n tŷ ni ac wylo fel plentyn. Ond fe fynai Slade fod yn dafarnwr. Ac nid wyf yn meddwl i mi weled gwén wirioneddol ar wyneb Mrs. Slade byth wed'yn, syr."

"Yr oedd hyny yn llawer i ddyn i'w golli," meddwn.

"Beth?" gofynai, heb fy neall yn glir.

"Gwyneb siriol ei wraig," atebais.

"Nid oedd y gwyneb ond dangoseg o'r galon," ebai yntau.

"Gwaethaf oll."

"Digon gwir. Oedd yr oedd yn llawer i'w golli."

"Ond beth mae o wedi enill i wneyd i fyny am hyn?"

Ysgydwodd y dyn ei ysgwyddau.

"Ië, beth mae o wedi enill?" gofynais eilwaith.

"Fedrwch chwi ddyweyd i mi?"

"Wel un peth, y mae yn gyfoethocach."

"Ac yn hapusach?"

Ysgydwodd y dyn ei ysgwyddau drachefn. "Ah! leiciwn i ddim dyweyd hyny."

"Wel faint cyfoethocach?" gofynais.

"Oh! llawer. Yr oedd rhywun yn dyweyd ddoe ei fod yn werth pum mil o bunnau."

"Yn wir? cymaint a hyny!"

"Ydi."

"Pa fodd y casglodd y fath gyfoeth mor fuan?"

"Mae ei fusnes yn fawr yn y bar," atebai. "A chwi wyddoch fod hwnw yn talu yn dda."

"Rhaid ei fod wedi gwerthu llawer o *liquor* mewn chwe mlynedd."

"Y mae felly. Dydw i ddim yn meddwl y byddwn yn mhell o fy lle pe d'wedwn fod cymaint o *liquor* wedi ei yfed yn Cederville yn y chwe mlynedd diweddaf ag a yfwyd yn yr ugain mlynedd blaenorol, cyn agor y Black Lion."

"D'wedwch ddeugain," ebai un oedd yn gwrandaw ar yr ymddyddan.

"Wel, d'wedwn ddeugain ynte," atebai y dyn.

"Pa fodd y mae hyn?" gofynais. "Yr oedd genych dafarn yma cyn i'r Black Lion gael ei hagor."

"Oedd; a llawer man arall lle y gwerthid liquor. Ond yr oedd pawb yn mhell ac yn agos yn 'nabod Simon Slade y Melinydd, a phawb yn hoff o hono. Yr oedd yn felinydd da, ac yn ddyn llawen a digrif bob amser. Fe adeiladodd Slade y dafarn, ac fe'i gosododd hi allan yn harddach nag un oedd yma o'r blaen. Cefnogwyd ei anturiaeth ar unwaith gan y Barnwr Hammond, y Barnwr Lyman, a'r Cyfreithiwr Wilson, a chan holl grach-foneddigion y lle; ac wrth gwrs gwnaeth pawb yr un fath. Felly chwi ellwch yn hawdd roddi cyfrif am ei gyfoeth."

"Fe feddylid yn y dechreu," meddwn, "fod y dafarn newydd yn myn'd i wneyd rhyfeddodau i Cedarville."

"Do;" atebai y dyn dan chwerthin, "ac felly mae wedi gwneyd."

"Yn mha fodd?"

"Oh! mewn llawer modd. Mae hi wedi gwneyd rhai dynion yn gyfoethocach, a rhai yn dlotach?"

"Pwy mae hi wedi wneyd yn dlotach?"

"Dwsiniau o bobol. Gellwch gymeryd yn ganiataol, os gwelwch dafarnwr â busnes da ganddo, ac yn myn'd yn gyfoethog, fod llawer o bobl yn myn'd yn dlawd."

"Sut felly?" Yr oeddwn yn dymuno clywed pa fodd yr oedd y dyn—yr hwn yr oedd yn hawdd canfod oedd yn gwsmer da yn *mar* rhywun—yn ymresymu ar y pwnc.

"Dydi'r tafarnwr ddim yn chwanegu cyfoeth neb. Mae yn cymeryd arian ei gwsmeriaid; ond yn rhoi dim o werth yn ol—dim a ellir ei gyfrif yn elw personol. Mae o yn ogymaint yn gyfoethocach a hwythau yn ogymaint yn dlotach; onid felly y mae hi?"

Cydsyniai, yn gwbl â'r hyn a ddywedai, ac ychwanegais—

"Pwy yn neillduol sydd yn dlotach?"

"Y Barnwr Hammond, fel un."

"Yn wir."

"Ydi y mae yn dlotach lawer."

"Beth sydd wedi achosi i'r Barnwr fyn'd yn dlotach?"

"Agoriad y dafarn yna, fel y d'wedais."

"Yn mha fodd yr effeithiodd y peth arno?"

"Yr oedd yn un o gefnogwyr gwresocaf Slade. I ddangos ei gefnogaeth yr oedd yn dyfod yna bob dydd ac yn cymeryd ei wydriad o *frandi*, ac yn anog pawb ereill i wneyd yr un modd. Yn mhlith y rhai a ddilynodd ei esiampl yr oedd ei fab Willy. Nid oedd am ugain milldir o gwmpas ddyn ieuanc mwy gobeithiol na Willy, cyn agor y trap dynol yma"—gostynodd y dyn ei lais wrth roddi yr enw yna i dafarn Slade. "Ond yn awr," ychwanegai, "nid oes un yn rhuthro i ddinystr yn gyflymach nag ydi Willy. Pan yn rhy ddiweddar, fe welodd ei dad fod ei fab wedi llygru, ac fod y cwmni a gadwai o gymeriad peryglus. Fe brynodd hen felin Slade oherwydd dau reswm—yn gyntaf er mwyn enill swm mawr o arian, fel y tybiai,—ac yn ail er mwyn cadw Willy mewn busnes, a'i gadw oddiwrth ei gwmni drwg. Er mwyn gwneyd yr olaf yn fwy sicr, yn annoeth, ymddiriedodd ef yn brif reolwr y gwaith. Ond y mae yn anturiaeth sydd wedi troi yn fethiant. Clywais ddoe fod y felin i gael ei chau i fyny, a'i chynnyg ar werth."

"Onid ydyw cadw melin yn orchwyl mor enillgar ag y tybid ei fod?"

"Nag ydi; o dan reolaeth Willy Hammond. Yr oedd ganddo ormod o gyfeillion drwg—dynion oedd yn glynu wrtho am fod ganddo ddigon o arian, ac yn eu gwario fel dwr. Yr oedd haner ei amser o'r felin, ac yn dra esgeulus o'i fusnes. Clywais ddyweyd ei fod wedi gwastraffu ei dair mil punau a chwaneg i'w canlyn."

"Sut mae hyny yn bosibl?"

"Wel, mae pobol yn siarad, ac nid bob amser ar antur. Mae yma ddyn wedi bod yn aros yma y rhan fwyaf o'i amser y pum mlynedd diweddaf o'r enw Green. Dydio'n gwneyd dim—ŵyr neb o b'le daeth o—a does ganddo ddim cyfeillion yn y gym'dogaeth. Wel, fe ddaeth y dyn yma yn gydnabyddus â Willy, trwy ei fod yn arfer myn'd i'r *bar*—ac mae nhw'n gyfeillion *sownd* byth er hyny. Fe ddywedir, syr, fod y Green yma yn gambliwr; a rwy i yn credu hyny fy hun. Os felly, mae'n ddigon hawdd gweled lle mae arian Willy wedi myn'd."

Cydsyniais âg ef yn yr hyn a ddywedai.

"Wel, gan fod Green yn gambliwr," meddwn, "y mae ef yn gyfoethocach ar ol agoriad y dafarn newydd yn Cedarville."

"Ydi, ac mae Cedarville yn ogymiant yn dlotach; achos chlywais i erioed ei fod wedi prynu modfedd o dir, na rhoi un geiniog at un gymdeithas ddaionus. Dydi o ond sugnwr gwaed."

"Nid yn unig y mae yn eu hysbeilio o'u harian," sylwais, "ond y mae yn llygru y rhai y mae a wnelo efe â hwy."

"Gwir."

"Efallai mai nid Willy Hammond yn unig y mae wedi ei lygru," sylwais.

"O, nage, syr. 'Rwyf wedi arfer dwad yma bob nos er's llawer o flynyddoedd, fel mae mwya' c'wilydd," ychwanegai, "ond felly mae hi'n bod. 'Rwyf wedi sylwi ar bob peth o ngwmpas. Yn mhlith yr ymwelwyr cyson, y mae o leiaf haner dwsin o ddynion ieuainc sydd yn perthyn i'r teuluoedd goreu yn yr ardal. Maent oll yn dyfod yma yn ddiarwybod i'w cyfeillion a'u perthynasau. Nid ydynt yn yfed llawer—ond rhyw lasiad neu ddau bob un. Oddeutu naw o'r gloch cewch weled y naill ar ol y llall yn llithro yn ddystaw o'r *bar*, ac yn cael eu dilyn gan Green a Slade. Gellwch weled goleu bob amser o'r nos yn pelydru yn wanaidd o ryw

ystafell neillduol, yr hon y gwn mai ystafell Green ydyw. Dyma'r ffeithiau, syr, a thynwch chwi y casgliad."

"Beth! a ydyw Slade yn myn'd gyda'r dynion ieuainc hyn?" gofynais, "A ydych yn meddwl ei fod yntau yn gamblo?"

"Os nad ydi Slade yn dŵl yn llaw Harvey Green, yr ydw i yn camgymeryd."

"Anmhosibl!"

"Ysgol ddrwg ydi cadw tafarn, syr," ebai y dyn.

"Yr wyf yn addef hyny yn rhwydd."

"Y mae yn yr ysgol er's saith mlynedd, ac wedi dysgu yn dda, syr."

"Rhy wir."

"Dydi Simon Slade ddim yr un dyn fel tafarnwr, ag ydoedd fel melinydd. Medr rhywun â haner llygad wel'd hyny."

"A ydyw Slade yn meddwi?"

"Mae yn cymeryd tipyn gormod."

"Arwydd ddrwg."

"Ië; ac os na fydd Simon Slade yn dlotach flwyddyn i heddyw nag ydi o yrwan, dydw i ddim yn brophwyd. Mae y gambliwr proffesedig yn ormod o ddyn iddo."

Dybenodd ein hymddyddan yn y fan hyn, trwy i rywun gyfodi ei fys ar fy nghyfaill siaradus, i gael llwnc; a gadawodd fi yn ddiseremoni.

## Y PLENTYN DA.

PA beth? Y mae plant, onid ydynt? yn hoff iawn o arluniau. A garech chwi, fy mhlant i, gael arlun (*picture*) o blentyn da? Neu yn hytrach, rhag i ni eich siomi, gofynwn—A garech chwi glywed hanes bachgen bychan a ystyrid yn blentyn da? Adnabyddid ef yn gyffredin wrth yr enw Daniel Bach; nid am ei fod yn llai na phlant ereill o'i oedran y gelwid ef felly, ond oherwydd ei fod yn un anwyl iawn gan bawb a'i hadwaenai—oblegid y mae *bach* yn aml yn cael ei arferyd i ddangos serch ac anwyldeb at ryw bersonau, yn neillduol plant da; gelwid yntau Daniel Bach am yr hoffai pawb ef. Peidiwch un amser ac ofni pan glywoch hen ŵr neu hen wraig yn dywedyd wrthych "Fy machgen bach i," neu "Fy ngeneth fach i:" nid rhoi ar ddeall y mae hyny eich bod yn debyg i Zachëus, yn fychan o gorffolaeth; ond fod y cyfryw a ddywed felly wrthych yn eich caru yn fawr, ac yn dymuno eich lles.

Enw ei dad oedd Robert Gruffudd, ond nid oedd neb yn ei adnabod wrth ei enw priodol; ac y mae yn resyn meddwl na fyddai pawb yn cael eu cyfarch wrth eu henwau bedydd, ond yn lle hyny y mae y naill yn "Dwm" a'r llall "Guts," a'r trydydd yn "Wil," &c., &c.,—nid felly y gwneir â'r cŵn a'r ceffylau. Y maent hwy oll yn cael yr enw a roddwyd iddynt gyntaf. Yr ydym yn cofio pan yn lled ieuanc, yn mysg ereill o'r un oed, ein bod yn taro at y gorchwyl o fedyddio ci, a galwyd ef yn Pincher, ac ni chynnygiodd neb ei alw wrth yr un enw arall, ar berygl cael gwybod pwysau dwrn y llall; ond yr oedd Shon yn dyfod allan yn aml am John, a Dai am Dafydd, ond ni ddylai pethau fod felly chwaith. Adwaenid tad Daniel Bach wrth yr enw "Bob ga'dd 'i ladd." Ryw dro cafodd ergyd gan gareg, ac ar y funud hono dywedodd yn ddisymwth—"O 'rydw i wedi'ym lladd 'rwan;" chwarddodd rhywrai am ei ben, ac adroddasant y stori, a byth oddiar hyny nid oedd neb yn gwybod dim am dano oddieithr i chwi ofyn am "Bob ga'dd 'i ladd," er mai yn mhlith y byw y ceid ef bob amser. Dyn go anwybodus oedd Bob, ond nid ffol er hyny, oblegid ryw dro, pan yn myned drwy *turnpike gate*, gofynodd rhyw *wag* iddo, faint oedd raid iddo dalu am gael myned drwodd. Dywedodd yntau—"Y mae gwahanol brisiau; mae y swm yn dybynu ar ba fath anifail yr ystyriwch eich hun,—os asyn, cewch fyned yn rhad iawn." Felly ceid rhyw *wit* fechan ddiniwed gan Bob bob haner blwyddyn.

Enw mam y llanc ydoedd Liza: dynes gref, iach yr olwg, yn llawn bywiogrwydd, mwyn, garedig, dalentog, ac, uwchlaw pobpeth, yn ol barn pawb yn un wir dduwiol.

Yr oedd ganddi ddosbarth yn yr Ysgol Sabbothol bob amser,—dosbarth o blant,—ac yr oedd rhyw hynodrwydd ynddi fel athrawes, rhagor y cyffredin; byddai bob amser yn llywodraethu ei dosbarth â gwên ar ei hwyneb, ac yr oedd ar bob plentyn ofn ei digio yn unig o barch iddi.

Pan yr oedd Daniel Bach tua phedair blwydd oed, aeth ei fam ac yntau i ymweled â'r taid a'r nain, ac yr oedd ganddynt fynydd go ddyrus i'w groesi, ac mewn un man yr oedd cors fawr, lle yr oedd amryw ddynion ac anifeiliaid wedi soddi i'w chanol; ac yn gymaint a bod niwl wedi gorchuddio'r mynydd, yr oedd ofn y gors arni hithau, ac wrth fyned yn y blaen suddodd ei thraed i lawr tuag wyth neu ddeng modfedd i'r ddaear, nes gwlychu ei thraed. Y pryd hwnw newidiodd y pwynt a daeth yn fuan i le diogel, ond erbyn hyn yr oedd wedi cwbl dd'rysu, ac nis gwyddai i ba le i fyned: felly yn hytrach nag anturio ei bywyd, a bywyd ei phlentyn, eisteddodd i lawr yn nghanol y tarth, tua phump o'r gloch yn y prydnawn. Tynodd lawer o'r dillad oedd am dani, a gosododd hwy am Daniel Bach; cysgodd y llanc, ond methodd y fam. Ni wyddai ef nad yn mynwes ei fam yr oedd yn y gwely bach gartref. Yr oedd y fam yn dd'ryslyd ei theimladau, oblegid nid ydoedd yn gweled gymaint a llathen o'i chwmpas gan y niwl, ac ofnai yn fawr y byddai raid iddi aros drwy y nos ar y mynydd; ac yn y petrusder hwn daeth adnod i'w chôf a roddodd lawer iawn o gysur iddi ar y pryd—"Duw sydd noddfa a nerth ini, cymorth hawdd ei gael mewn cyfyngder." Yna dechreuodd weddïo, ac nid oedd eisieu ei chymhell i fod yn daer y tro hwnw. Yr oedd meddwl fod Daniel Bach mewn perygl yn peri iddi lynu wrth yr orsedd, am i'r Arglwydd eu cadw ill dau.

Rywbryd yn y nos, rhwng cwsg ac effro, hi a freuddwydiodd, a thybiodd weled ohoni wraig drwsiadus yn dyfod ati, ac ar ol cyfarch gwell, yn gofyn iddi am gael gweled y baban; yna cusanodd ef, a gofynodd beth oedd ei bris. "Ei bris?" ebe hithau, "nid oes bris arno." "Tybed?" meddai y wraig, "oni fuasai yn well genych gael ymadael âg ef na thrafferthu i'w fagu?" "Na," meddai'r fam, "pleser i gyd yw hyny; a fu gyda chwi blant, m'am?" "Do, mi a wn beth ydyw cariad mam at blentyn fel chwithau, ond cefais fy amddifadu o'r unig blentyn a fu imi erioed, pan ydoedd tua phum mlwydd oed." "Sut y bu i chwi golli yr un bach, m'am?" "O, ryw ddiwrnod aeth gyda'r bugail i fyny i'r mynydd hwn, a daeth yn niwl tew, ac ni welsom byth mohono, ac nid ydym chwaith wedi cael o hyd i'w gorff, na dim o'i ddillad chwaith." "Faint sydd, m'am, er pan gollasoch ef?" "Tua thair wythnos, neu ychydig yn 'chwaneg." Beth yw'r rheswm, m'am, eich bod ar y mynydd y pryd yma o'r nos?" "Chwilio ydwyf o hyd am fy mhlentyn anwyl, ebe hithau, ac yn ofni bellach na chaf ef byth, ond yr ydwyf yn penderfynu cymeryd y plentyn cyntaf a gaf afael arno yn lle yr

wedd gwerthfawr hwn; ond lle bynag y bo hwn, y mae yn abl i gynyrchu pob rinwedd arall, a hyny am mai efe ydyw eu mammaeth. Nid yw unrhyw addurn yn y blodyn, yn annibynol ar fywyd, o unrhyw wasanaeth; felly am deuluoedd, os byddant yn meddu rhai rhinweddau, ac yn amddifad o'r rhinwedd mawr hwn, y maent yn gwbl dlawd. Ond nid felly yr oedd teulu Bethania; nid yn unig yr oeddynt yn lletygar, cyfeillgar, a charedig, ond yr oeddynt yn rhai duwiol. Mae'n wir eu bod yn gyfeillion mynwesol i'r Arglwydd Iesu fel dyn, ond yr oeddynt mewn undeb ffydd âg Ef fel Duw; credent mai Efe ydoedd y Messiah addawedig, y Crist oedd ar ddyfod i'r byd. Ebe Martha, "Yr wyf fi yn credu mai ti yw y Crist, Mab Duw;" ac, fel y cyfryw, yr oeddynt yn rhai hynod o ymdrechgar gydag achos Iesu Grist yn y byd; yr oeddynt â'u holl egni yn gwneyd crefydd eu Harglwydd yn hysbys i'w cymydogion tywyll ac anneallus Credwn fod dyledswyddau crefyddol teuluaidd yn uchel iawn yn ngolwg teulu Bethania. Esgynai o'i haelwyd ddedwydd yn fynych weddïau taer i'r nefoedd am i'r Tad sydd yno gadw eu Hathraw mawr rhag y gelynion creulawn oedd yn barod i'w amgylchu, a hyny yn wastad gyda phryder yn deillio oddiar wir gariad tuag ato; nid rhyw bryder pruddaidd, digalon, fel y mae y dyn anianol yn ei feddu; nid rhyw ofn a dychryn felly oedd yn eu llywodraethu hwy; na, nid y cymeriad yna y mae duwioldeb yn ei wisgo, ond yn hytrach "ei ffyrdd hi sydd ffyrdd hyfrydwch, a'i llwybrau ydynt heddwch." Gwir eu bod yn ffyrdd culion, ac i raddau yn anhawdd eu teithio, ond mae pob cam arnynt yn cael ei oleuo gan ddysgleirdeb dymunol "Haul mawr Cyfiawnder;" ac mae'n ddiamheu genym ni fod teulu Bethania erbyn heddyw wedi eu teithio yn llwyddianus, a'u bod yn awr yn berlau dysglaer yn mwynhau gogoniant rhyfeddol y drydedd nef.

Yn drydydd, EU DEDWYDDWCH.

Enw cyffredin iawn arnynt gan dduwinyddion ac ereill yw "y teulu dedwydd;" er nad yw yr enw yn cael ei roddi arnynt yn yr hanes ysgrythyrol, eto meddyliem y goddef yntau yn eithaf naturiol i ni eu galw wrth yr enw "y teulu dedwydd." Ein hymofyniad, gan hyny, yn awr ydyw, beth oedd yn cyfansoddi eu dedwyddwch? Cawn eu bod o ran eu sefyllfa yn y byd yn rhai uchel a chyfrifol fel y nodwyd, ac y mae gwaith Mair yn eneinio yr Iesu yn brawf arall o hyny. Fe ddywedir fod yr enaint a dywalltwyd ganddi yn werth tros naw punt o'n harian ni, a phe buasent yn dlawd iawn nis gallasent wneyd y fath aberth. Yr oedd hyn yn cyfansoddi rhyw fath o ddedwyddwch; ond nid y gwir ddedwyddwch. Ni gawn fod Bethania fel ardal yn lle hynod o brydferth a hyfryd; golygfa farddonol dros ben oedd i'w chael ar ochr yr Olewydd pan y byddai y gwinwydd, yr olewydd, yr almonau, y ffigyswydd, a'r palmwydd yn llawn dail a ffrwythau, ac megys mewn ymrysonfa am brydferthu ardal Bethania; ond nid hyny chwaith oedd y prif beth oedd yn cyfansoddi eu dedwyddwch; mae yn ddiamheu mai y peth mawr oedd yn cyfansoddi eu dedwyddwch hwy ydoedd, y cymeriad dysglaer y ceisiasom eisoes ei ddarlunio; ac os dymunai teuluoedd yn awr weled teulu yn meddu ar ddedwyddwch gwirioneddol, edrycher ar deulu Bethania. O! 'r fath undeb agos oedd cydrhyngddynt, a phob amser "mewn undeb y mae nerth." Elfen wir angenrheidiol mewn teulu yw undeb. Dangosodd un hen dywysog Cymreig wirionedd hyn mewn dull tarawgar unwaith,—galwodd ei feibion yn nghyd a dywedodd wrthynt am dori ffon bob un; wedi iddo eu rhwymo yn nghyd archodd iddynt eu tori, methasant yn deg; wedi hyny rhoddodd ffon unigol iddynt i'w thori, yr hyn a wnaethant yn hawdd; yna, ebe fe, os byddwch chwi mor synwyrol a bod mewn undeb â'ch gilydd nis gall neb eich gorchfygu, ond os ymddiriedwch yn eich nerth personol yn lle eich nerth unedig, yr ydych yn sicr o gael eich gorchfygu. Elfen arall wir angenrheidiol mewn teulu yw cariad, oblegid "rhwymyn pob cymdeithas yw cariad," yr hon yn amlwg a welir yn nghyfansoddiad dedwyddwch teulu Bethania. Ond yn benaf o bob peth duwioldeb oedd yn cyfansoddi eu gwir ddedwyddwch, a hyny am nad oes neb yn wirioneddol ddedwydd ond y rhai y maddeuwyd eu pechod; mae fod cydwybod euog yn aros yn ddigon i gynyrchu annedwyddwch yn nghanol y pleserau daearol mwyaf; ac, o'r ochr arall, lle bo gwir dduwioldeb yn trigo y mae hi yn galluogi ei pherchenog i orfoleddu, ïe yn nghanol gorthrymderau. Dewisodd teulu Bethania y "rhan dda," yr hon fu yn ddedwyddwch iddynt mewn amser, ac sydd yn awr yn etifeddiaeth iddynt yn y nefoedd; a chofied pob teulu yn awr fod yn rhaid iddynt hwythau gael y "rhan dda" neu ynte ni byddant byth yn ddedwydd. Wrth derfynu, dymunem yn ostyngedig argymhell teulu Bethania i sylw holl deuluoedd Cymru fel rhai hynod mewn duwioldeb, ac fel y cyfryw yn deilwng i ymdebygu iddynt.

*Ffestiniog.* W. JONES.

---

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

### Y BUMMED NOSWAITH.

YR oedd y swper y cyfranogais o hono y prydnawn hwnw yn dra gwahanol i'r un a gefais yn fy ymweliad cyntaf â'r "Black Lion." Yr oedd y llian bwrdd, nid yn unig yn llychwinog, ond yn ffiaidd a budr; yr oedd y dysglau, y cwpanau, y cyllyll a'r ffyrc yn glynu wrth fy nwylaw gan fudreddi, a'r ymborth o'r fath ansawdd fel y digonodd fy chwant âg ychydig dameidiau. Nid oedd gwr na gwraig y dafarn wrth y bwrdd; ond gweinyddai rhyw ddwy

Wyddeles anghynes ar yr achlysur. Yr oeddwn yn wir newynog pan ganwyd y gloch arnaf i swpera; ond fe beidiodd gwanc fy ystymoc yn fuan yn awyr afiachus y giniaw-gell, a myfi oedd y cyntaf i adael y bwrdd.

Yn fuan wedi hyn, goleuwyd y lampau. Dechreuoddd cwmni ymgasglu i'r *bar-room* ëang, lle yr oedd eisteddleoedd cysurus, byrddau, papyrau newyddion, *backgammum boards, dominoes*, &c. Gweithred gyntaf pob un, bron, ar ei ddyfodiad i mewn ydoedd galw am wydriad o *liquor*; a byddai yr un person weithiau yn yfed ddwywaith neu dair yn ystod haner awr ar gymhelliad newydd-ddyfodiad caredig.

Yr oedd y rhan fwyaf o'r rhai a ddeuent i mewn yn ddyeithriaid i mi. Yr oeddwn yn edrych o wyneb i wyneb i weled a oedd neb o'r hen gwmni yn bresennol, pryd y tarawyd fi gan wynebpryd y tybiwn ei fod yn dra chydnabyddus i mi. Yr oeddwn ar astudio yn fanwl, er mwyn, os oedd bosibl, adnabod y person, pan y cyfarchodd rhywun ef fel "Barnwr."

Er fod y wyneb wedi cyfnewid yn fawr, deallais erbyn hyn mai efe ydoedd Barnwr Lyman. Yr oedd pum mlynedd wedi anmharu llawer arno. Ymddangosai ei wyneb gymaint ddwywaith, ac wedi colli ei holl lewyrch. Llefarai y gwefusau chwyddedig, yr amrantau trymion, a'r llygaid plymaidd haner-agored, ddarostyngiad truenus ei gyflwr. Siaradai yn uchel, haerllug, ac honiadol, a'r cwbl oddiar ei gof, oblegid yr oedd yn hawdd canfod nad oedd ei feddwl yn cael gweithredu ond nesaf peth i ddim. Ac er mor anifeilaidd ydoedd wedi myn'd trwy ei anghymedroldeb, yr oedd newydd gael ei ddewis yn gynnrychiolydd yn y Gynghorfa gyda mwyafrif mawr, fel pleidiwr gwrthddirwestiaeth. Efe ydoedd pleidiwr y *rum*, ac, wrth gwrs, gwnaeth pawb oedd yn hoff o'r gwirod hwnw eu goreu i'w gael i fyny, gan sathru ar bob rhinwedd a moesoldeb; ac yr oedd yr ardal o'r hon yr etholwyd ef fel deddfwr cenedlaethol yn ei anfon i fyny at y Cynghorwyr Cenedlaethol ac yn dyweyd yn yr act,—"Edrychwch ar yr hwn a etholasom fel ein cynnrychiolydd, a gwelwch ynddo gynllun perffaith o'n hegwyddorion a'n sefyllfa fel gwladwriaeth."

Ymgasglodd amryw o amgylch y Barnwr yn fuan, ac ymosodai yntau yn ddiarbed ar y blaid Ddirwestol, yr hon am ddwy flynedd oedd wedi gwrthwynebu ei etholiad, ac wedi dangos yn yr ymdrech ddiweddaf ei bod yn cynnyddu yn gyflym yn gorfforaeth. Yn adeg yr etholiad cyhoeddwyd papuryn gan y blaid hon, yn yr hwn y dadlenid ei gymeriad personol a i egwyddorion moesol yn y modd mwyaf rhydd a didderbynwyneb, ac effeithiodd hyn i'w iselhau fel dyn yn ngolwg y rhai yr oedd eu hopiniwn o ryw werth. Galwai y Barnwr y dynion hyn a bleidient ddirwest yn gêr grintachlyd ragrithiol, a rhai yn chwenychu cwtogi rhyddid y bobl.

"Y peth nesaf a gawn," meddai, gan ddyrchafu ei lais nes oedd y muriau yn clecian, "fydd cyfreithiau i ddirwyo dyn am gymeryd cegaid o bacco neu oleu pibell. Cyffyrddwch â rhyddid y bobl yn y pethau lleiaf, a gellwch ganu yn iach am ddiogelwch y pethau mwyaf. Nid oedd y *stamp act*, yn erbyn yr hon yr ymladdodd ein cyndadau dewrion, ond gormes ysgafn o'i chydmaru â'r hyn a fyn yr ynfydion hyn ei gario allan."

"Yr ydech yn y'ch lle yna, Lyman—yn iawn am unwaith yn y'ch hoes, os na buoch (hic) yn iawn erioed o'r blaen (hic)," ebai rhyw hurtun tew oedd yn ei ymyl mewn llais cras, a rhyw glec yn ei wddf bob yn ail gair. "Wyr neb be na nhw. Dyna (hic) fy hen ewyrth Josh. Wilson, yr hwn (hic) sydd wedi bod yn cadw y *poor-house* am ddeng mlynedd. Wel, mae nhw am ei droi o i ffordd os ca nhw y llaw ucha yn sir Bolton."

"Os? mae y gair yna yn cynnwys llawer, Harry," ebai y Barnwr. "Rhaid i ni beidio gadael iddynt gael y llaw uchaf. Mae gan bob dyn ddyledswydd i'w chyflawni i'w wlad yn y mater hwn, a rhaid i bob dyn wneyd ei ddyledswydd. Ond beth sydd ganddynt yn erbyn eich hewythr Joshua? Beth mae o wedi wneyd i dramgwyddo y blaid dduwiol hon?"

"Does ganddyn nhw (hic) ddim byd yn ei erbyn o—rwy'n credu. Ond mae nhw'n deud na fydd 'run *poor-house* yn y sir o gwbl."

"Beth! ydyn nhw am droi y trueiniaid allan i lwgu?" gwaeddai un.

"Oh! na (hic)," ebai y creadur gan ysgyrnygu yn gellwerus—"na, nid felly. Ond pan na nhw gario y dydd fydd dim angen am y *poor-house*. O leia, felly mae nhw'n siarad—a 'rwyn meddwl fod rhywbeth yn y peth hefyd, achos weles i neb yn gorfod myn'd i'r *poor-house* nad *rum* oedd wedi yru o'n dlawd. Ond yr ydw i am (hic) gadw y *poor-house* i fyny, ydach chi yn gweled—achos 'rwdw i'n gwel'd mod i'n cerdded y ffordd yno yn ffast, a leiciwn i ddim dwad at y gareg filldir olaf (hic) heb le i alw i mewn—ac heb 'run ewyrth Josh. Yr ydach yn siwr o un *vote*—yr hen law—beth bynag (hic) yn y lecsiwn nesa," meddai, gan guro cefn y Barnwr yn llawen. "Hwrê i fechgyn y *rum!* Dyna'r ticed (hic). Dydi Harry Grimes 'n amser yn gwadu i gyfeillion. Fel dur!"

"Trymp ydych chwi," ebai y Barnwr mewn tôn gartrefol. "Peidiwch ofni yn nghylch y *poor house* a'ch hewythr Josh. Mae nhw i gyd yn ddiogel."

"Ond edrychwch yma," ychwanegai y dyn. "Nid yn unig y *poor-house*—ond y *jail* sydd i fyned nesa'."

"Yn wir!"

"Ië, dyna fel mae nhw yn deud; a rwy'n meddwl nad ydyn nhw ddim yn mhell o'u lle chwaith. Be sy'n gyru pobol i'r *jail?* Yr ydych chi yn gwybod rhywbeth am hyny, Barnwr, achos yr ydach chi wedi barnu llawer yn y'ch amser. Onid oedda nhw i gyd agos yn yfed *rum* (hic)?"

Ni atebodd y Barnwr ddim.

"Ah! (hic) mae dystawrwydd yn deud rhywbeth," ebai Grimes. "A mae nhw'n deud chwaneg, os ca nhw y llaw ucha, na fydd dim eisio barnwyr a chyfreithwyr, a bydd raid iddy' nhw gael rhyw fusnes arall ne lwgu. Felly (hic) ydach chi'n gweled rhaid i chi ymladd yn galed am dani ne golli'ch bywiolaeth."

Nid oedd y Barnwr yn hoffi ei araeth; ond yr oedd yn rhy gall i ddangos hyny mewn un modd. Yr oedd pleidlais Harry Grimes o gymaint gwerth a phleidlais y dyn goreu—a bydd un bleidlais yn troi y fantol weithiau mewn etholfa.

"Un o'u rhesymau da nhw," meddai, dan chwerthin, "yr wyf fi yn rhy hen i gredu y fath honiadau. Mae tlodi a throsedd yn cael dechreuad yn nghalon lygredig dyn cyn i'r cam cyntaf gael ei roi ar ffordd meddwdod a thrachwant. Ychydig sydd yn edrych ar ffeithiau ac yn eu holrain yn iawn i'w hachosion."

"*Rum* a dinystr (hic), onid ydyn nhw'n achos ac effaith?' gofynai Grimes.

"Ydynt weithiau," oedd yr ateb hwyrfrydig.

"Oh, Green! y chwi sydd yna?" gwaeddai y

Barnwr, fel y deuai Harvey Green i mewn gyda cherddediad cathaidd. Yr oedd yn dda gan ei galon gael ymadael â'i gyfaill siaradus. Edrychais ar y dyn, a darllenais ei wyneb yn fanwl. Nid oedd wedi cyfnewid yr un iot. Yr un llygaid dichellddrwg; yr un safn fradwrus; yr un wên ffals—yr oedd pob-peth yn dangos ei galon ddrwg dwyllodrus. Os oedd wedi yfed yn drwm yn ystod y pum mlynedd diweddaf, nid oedd wedi llygru dim ar ei waed, nac wedi cyfnewid dim ar ei wyneb.

"A welsoch chwi rywbeth oddiwrth Hammond heno?" gofynai y Barnwr Lyman.

"Gwelais ef ryw awr neu ddwy yn ol," atebai Green.

"Sut mae o'n leicio ei geffyl newydd?"

"Oh! mae'n gwirioni ynddo."

"Beth oedd ei bris?"

"Triugain punt."

"Yn wir!"

Yr oedd y Barnwr eisioes wedi cyfodi, ac yr oedd Green ac yntau erbyn hyn yn cerdded ochr yn ochr ar draws llawr y *bar-room.* "Mae arnaf eisieu siarad gair â chwi," clywais y Barnwr yn dyweyd. Ac aeth y ddau allan gyda'u gilydd. Ni welais mwy mohonynt y noson hono.

Yn fuan wedi hyn daeth Billy Hammond i mewn. Ah! yma yr oedd cryn gyfnewidiad; cyfnewidiad oedd yn cywiro geiriau Mathew, ceidwad y *bar*, yn drwyadl. Aeth i fyny at y *bar* a chlywais ef yn gofyn am y Barnwr Lyman.

Yr oedd yr atebiad yn cael ei lefaru mor isel fel na chyrhaeddodd fy nglust.

Gyda llaw grynedig cyfeiriodd Hammond at y *decanters* oedd ar y silff tu ol i Mathew, yr hwn yn ddiaros a osododd un o'i flaen yn llawn o *frandy.* O hwn tywalltodd haner lond twmbler, ac yfodd ar un dracht heb ei gymysgu â dwfr.

Gofynodd wedi hyn amryw gwestiynau, y rhai a ddangosent gryn gynwrf meddwl, ond ni ddeallais mohonynt. Wrth ei ateb cyfeiriodd Mathew ei lygaid i fyny, fel yn arwyddo rhyw ystafell yn y tŷ. Aeth Willy allan yn frysiog tua'r ystafell gry-bwylledig.

"Beth ydi'r mater hefo Willy Hammond heno?" gofynai un i geidwad y *bar.* "Pwy mae o ar ei ol mor frysiog?"

"Mae o eisio gwel'd y Barnwr Lyman," atebodd Mathew.

"Oh!"

"'Does yna ddim da ynddi," sylwyd.

"Dim llawer mae gen i ofn."

Ar hyn daeth i mewn ddau ddyn ieuanc bonedd-igaidd a thalentog yr olwg, yfasant wrth y *bar* ac ymddyddanasant ychydig yn gartrefol gyda Mathew, yna aethant trwy y drws oedd yn arwain i ryw ystafell i fyny. Edrychais ar y dyn â'r hwn y bum yn siarad yn y porth y prydnawn, a rhoddodd am-naid ddeallgar arnaf i adgofio ei sylwadau, fod gam-blo yn myned yn mlaen yn un o'r ystafelloedd uchaf gyda rhwysg bob nos, ac fod rhai o'r dynion ieuainc mwyaf gobeithiol y dref wedi eu tynu i'r llynclyn ofnadwy hwn. Teimlais fy ngwaed yn oeri wrth feddwl am y peth.

Yr oedd yr ymddyddan yn y *bar-room* erbyn hyn wedi myned mor lygredig nes i mi ei ffieiddio, a myned allan. Yr oedd y noswaith yn glir a'r awel yn falmaidd, a'r lloer yn dysgleirio yn ganaid. Cerddais am ychydig yn y porth yn myfyrio ar yr hyn a welais ac a glywais, tra yr oedd llif o ymwel-wyr yn tywallt i'r *bar-room.* Nid arhosai ond ychy-dig o'r rhai hyn. Yr oedd y rhan fwyaf ohonynt yn yfed ei gwydriaid yn frysiog ac yn myned allan, fel na chai neb eu gweled, dybygwn.

Yn fuan wedi i mi ddechreu cerdded yn y porth, sylwais ar ryw hen foneddiges yn cerdded yn araf heibio, ac yn aros ychydig wrth basio, gan geisio edrych i mewn drwy ddrws y *bar-room.* Nid oedd yr arhosiad ond am foment. Yn mhen llai na deng munud dychwelodd, gan aros ychydig drachefn—yn hwy y tro yma—ac yn symud ymaith drachefn, nes iddi fyned allan o'm golwg. Yr oeddwn eto yn meddwl am dani, pan wrth gyfodi fy llygaid oddiar y ddaear, gwelwn hi yn agosau ar hyd y ffordd, ond ychydig latheni yn mhellach. Dychrynais bron wrth ei gweled y tro hwn, oblegid nid oedd amheu-aeth ynof erbyn hyn nad rhyw fam drallodus ydoedd yn chwilio am ei mhab, yr hwn oedd wedi dechreu cerdded llwybr peryglus. Gan ei bod yn fy ngweled, cerddodd yn mlaen, ond yn araf. Nid aeth yn mhell cyn dychwelyd; a'r tro hwn aeth mor agos at y tŷ nes ydoedd mewn sefyllfa fel i'w galluogi i weled pob congl o'r *bar-room.* Boddlonodd ar hyn, ac aeth ymaith yn frysiog, ac ni ddychwelodd y nos-waith hono.

Ah! y fath esboniad ydoedd yma ar ddylanwad damniol y dafarn! Yr oedd fy nghalon yn hollti wrth feddwl am yr hyn a ddyoddefasai y fam anad-nabyddus hon, a'r hyn oedd i'w oddef. Yr oeddwn yn methu ei anghofio wedi i mi orwedd yn fy ngwely y noson hono; yr oedd hyd yn oed yn cynniwair yn fy meddwl, yn fy mreuddwydion.

## BUGEILIAETH EGLWYSIG.

MR. GOL.,—Y peth pwysicaf a berthyn i unrhyw genedl, fel i bob person unigol, ydyw, crefydd; ac fel y cyfryw y mae sefydliadau crefyddol yn haeddu y gofal mwyaf am danynt, a'r ymdrech lwyraf o'u plaid. Datganodd llawer o'r dynion teilyngaf a feddwn, o bryd i bryd, eu hargyhoeddiad a'u barn, mai y diffyg mwyaf sydd yn ein heglwysi yn gyff-redinol ydyw, diffyg dynion cymhwys ac ymroddgar i fugeilio praidd Duw; a chyn y gwneid cyfiawnder âg addysgiant a dysgyblaeth grefyddol y byddai raid meddwl am hyn, ac ymdrechu symud ymaith y diffyg. Credwyf fod y diffyg yn dangos ei hunan i bawb erbyn hyn. Cyn galw sylw y wlad ato gan ddynion ffyddlon a llygadgraff, nid oedd ond ychydig wedi ei ganfod, ond erbyn hyn y mae effeithiau y diffyg wedi argyhoeddi pawb a fynant eu hargy-hoeddi, o'i fodolaeth; ac y mae genym le i obeithio fod hyny wedi eu haeddfedu a'u parotoi i ymaflyd yn y dyledswyddau priodol tuagat symud y diffyg, ac ymofyn am y cyfleusderau angenrheidiol at alluogi yr eglwysi i fod yn fwy llwyddiannus ac effeithiol. Y mae y wasg fel wedi tysdewi ar hyn yn y misoedd diweddaf, ond efallai mai rhoi amser i'w chyfferiau wrthweithio yr afiechyd o'r cyfansoddiad y mae; fel y dywedwyd, credwn eu bod yn gwneyd hyny, gyda chyflymder ac effeithiolrwydd; ac os felly, y mae yn amser i'r wasg ailagor ei genau tuagat roddi ei chynlluniau mewn gweithrediad. Ni ddylai y wasg grefyddol yn anad dim fod yn fud ar y fath achos; trwyddi hi, caiff pawb ddyweyd ei feddwl yn hyf, dirwystr, a diofn, a'i ddyweyd yn gyflawn a chywir, yr hyn beth na cheir, o leiaf i'r un graddau, yn unman arall. Ofnir mai ychydig bersonau mewn gwirionedd ydyw holl allu ac awdurdod ein Cym-deithasfäoedd, a bod ganddynt ormod o allu ac awdurdod i neb arall gael siarad eu meddyliau, llawer llai cael gwneyd eu golygiadau yn "benderfyniadau

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

### Y CHWECHED NOSWAITH.

NI wnaeth y tafarnwr ei ymddangosiad bore dranoeth hyd ddeg o'r gloch; ac edrychai y pryd hyny fel dyn yn dyfod oddiwrth ryw halogwaith. Yr oedd yn un ar ddeg cyn i Harvey Green ddyfod i lawr. Nid oedd dim yn ei ymddangosiad ef mwy nag arferol. Yr oedd wedi eillio yn lân, wedi newid ei grys, a phob llinell yn ei wynebpryd wedi eu süo i lonyddwch; edrychai fel pe buasai wedi cysgu yn braf gyda chydwybod dawel, ac yn croesawu y bore newydd gydag ysbryd llon.

Gweithred gyntaf Slade ydoedd myned tu ol i'r *bar*, a chymeryd gwydriad cryf o frandi a dwr; gweithred gyntaf Green oedd gorchymyn *beefstake* a choffi i'w foreubryd. Sylwais ar gyfarfyddiad y ddau ddyn, ac ar eu hymddangosiad. O ochr Green yr oedd pwyll a darngelwch i'w ganfod—o ochr Slade dyryswch cythruddol. Nid oedd gymaint a chysgod gwên ar wyneb y naill na'r llall. Siaradasant ychydig eiriau â'u gilydd, ac ymwahanasant er mwyn celu eu teimladau. Ni welais mwy mohonynt yn nghwmni eu gilydd yn ystod y dydd.

Mae yna helynt drosodd yn y felin, sylwai boneddwr â'r hwn yr oedd a wnelo fy ngorchwyliaeth yn y prydnawn. Siaradai â pherson oedd yn eistedd yn ei swyddfa.

Ah! beth ydyw'r mater? gofynai y llall.

Maent wedi cael cryn golled arianol.

Sut felly? Beth yw yr achos?

Willy.

A ydyw y golled yn fawr?

Mae nhw yn dyweyd ei bod.

Pa faint?

Amryw filoedd. Ond siarad pobl ydyw hyn—ac wrth gwrs mae yma ormodiaeth.

Oes yn ddiamheu. Mae y peth yn ormod i'w gredu. Ond beth a wnaed â'r arian? Sut y gallasai Willy eu gwario? Mae o yn lluchio o gwmpas—yn prynu ceffylau ffast—yn yfed yn drwm, mae'n wir; ond allasai fo byth wario llawer o filoedd yn y ffordd yma.

Ar y foment yma cyflymai heibio geffyl hardd, yn tynu ar ei ol gerbyd ysgafn a dyn ynddo.

Dyna Hammond ieuanc a'i geffyl triugain punt, ebai y siaradydd diweddaf.

Un Willy oedd o ddoe. Ond y mae y berchenogaeth wedi newid erbyn heddyw.

Yn wir.

Ydyw. Mae y dyn Green—yr hwn sydd wedi bod yn cyniwair o gwmpas Cedarville, y blynyddoedd diweddaf ar ol dim da 'rwyf yn credu—wedi dod i feddiant o hono heddyw.

Ah! rhaid fod Willy yn un gwamal. A flinodd o ar ei hoff geffyl yn barod?

Mae rhywbeth yn dywyll yn yr achos. Gwelais Mr. Hammond y bore, ac yr oedd efe yn edrych yn derfysglyd iawn.

Mae y dyryswch yn y felin yn rhoi cyfrif am hyn.

Gwir; ond y mae rhyw bethau ereill heblaw y dyryswch yn y felin.

Afradlondeb ei fab, ebai y llall. Mae hyn yn ddigon i wasgu ysbryd ei dad, a'i suddo i'r bedd.

I siarad yn blaen, atebwyd, 'rwyf yn ofni fod y dyn ieuanc yn chwanegu drwg arall at ddiota a diogi.

Beth?

Chwareuyddiaeth.

Anmhosibl!

Mae o'n rhy wir. Ac 'rwyf yn credu fod ei geffyl gwych, am yr hwn y talodd driugain punt, wedi syrthio i ddwylaw Green i dalu y ddyled oedd arno yn y chwareufwrdd.

Yr ydych yn fy synu. A oes rhesymau digonol i gredu y fath beth?

Y mae genyf, mae yn ddrwg genyf ddyweyd, y rhesymau cryfaf dros yr hyn a ddywedais. Fod Green, yr hwn a ddenwyd yma gan y cwmni gwych a fynychent y Black Lion, yn gambliwr proffesedig, sydd ffaith ddiamheuol. Caniatewch hyn, ac ystyriwch fod Hammond wedi bod yn cymdeithasu llawer âg ef, a gellwch roddi cyfrif yn hawdd am yr holl helynt yma.

Os ydyw y pethau hyn felly, sylwai y boneddwr, gwyneb yr hwn a ymddangosai yn dra phryderus, yna, efallai mai nid Willy Hammond ydyw yr unig un y mae wedi ei ddinystrio.

Gellwch fod yn siwr o hyny. Os yw y siarad yn wir, y mae ereill o'n dynion ieuainc mwyaf gobeithiol wedi eu tynu i'r llynclyn dinystriol yma.

Er cadarnhad i hyn, crybwyllais wrthynt yr ymddyddan a fu rhyngof ag un o fynychwyr *bar-room* Slade ar y pwnc hwn; ac hefyd yr hyn a welais fy hunan y noswaith flaenorol.

Yr oedd y boneddwr o'r dechreu yn eistedd yn llonydd mewn cadair, ond cafodd y geiriau hyn y fath effaith arno nes iddo neidio ar ei draed, a gwaeddi,—

Y nefoedd fawr! ni freuddwydiais am hyn erioed! Meibion pwy sydd yn ddiogel?

Meibion neb, atebai y boneddwr yn swyddfa yr hwn yr oeddwn yn eistedd. Meibion neb, tra y mae y fath ddrysau agored i ddinystr, megys y Black Lion. Oni ddarfu i chwi bleidleisio dros wrth-ddirwestiaeth yn yr etholfa ddiweddaf?

Do, atebwyd, ac oddiar egwyddor.

Ar ba beth yr oedd eich egwyddorion wedi eu sylfaenu? gofynwyd.

Ar sylfaeni cadarn rhyddid gwladol.

Y rhyddid i wneyd da neu ddrwg, fel y byddo y person yn dewis?

Ddymunwn i ddim dyweyd hyn yna. Y mae drygau neillduol, yn erbyn y rhai nid ellir gwneyd cyfreithiau, heb wneyd llawer o niwed. Nid oes gan un gallu gwladwriaethol hawl i ddyweyd wrth ddyn beth sydd iddo fwyta neu yfed.

Ond, onid all y bobl, mewn unrhyw wladwriaeth, basio cyfreithiau, trwy eu cynnrychiolwyr, er atal dynion drygionus i niweidio y daioni cyffredinol?

Oh! sicr iawn—sicr iawn.

Wel, a ydych chwi yn barod i ddyweyd nad ydyw y tafarnau—lle mae dynion ieuainc yn cael eu llygru—ïe, yn cael eu dinystrio gorff ac enaid—yn niweidio y daioni cyffredinol?

Ah! ond y mae'n rhaid cael gwestai cyhoeddus.

'Does neb yn gwadu hyny. Ond, os yw gwestai yn anhebgorol i dderbyn teithwyr, a ydyw yn angenrheidiol fod yr elfenau hyny sydd yn dinystrio dynion i gael eu gwerthu yn y cyfryw leoedd?

Ië—ond—ond —— y mae hi'n myn'd yn rhy bell i wneyd cyfraith beth sydd i ddyn fwyta ac yfed. Mae hi'n agor drws rhy lydan i orthrwm. Rhaid i ni ddysgu ein plant am y drwg o feddwdod. Os gwnawn ni ein dyledswydd tuagat ein plant, cawn wared â phob *bar-room* yn fuan.

Oh! fy nghyfaill, ni bydd eich cyngorion ond o ychydig werth, os bydd temtasiwn ar ffordd ein plant bob cam o'u bywyd. Mae miloedd wedi syrthio. Nid yw eich meibion chwi yn ddiogel, na fy rhai inau chwaith. Nid gwir yw i mi oddef y fath demtasiynau. O syr! pan yr ydych chwi yn naca gweithio yn erbyn y llifogydd sydd yn dinystrio ein gwlad, y mae y dyfroedd duon yn agosau at eich drysau chwi eich hunan.

Llefarai y frawddeg ddiweddaf yn finiog a grymus, nes codi pryder gweledig yn ngwyneb y boneddwr.

Beth ydych yn feddwl? gofynai.

Yn unig, fod eich meibion chwi mor agored i'r perygl ac ereill.

Ai dyna'r cwbl?

Fe'u gwelwyd yn ddiweddar yn *mar-room* y Black Lion.

Pwy sydd yn dyweyd hyny?

Ddwywaith mewn wythnos y gwelais i nhw yn myn'd yno, atebwyd.

Y nefoedd fawr! Naddo!

Mae o'n wir, gyfaill. Ond pwy sydd yn ddiogel? Os byddwn yn cloddio pydewau ac yn eu cuddio o'n golwg, pa ryfedd os bydd ein plant ni ein hunain yn syrthio iddynt?

Fy meibion i yn myned i dafarn! Ymddangosai y dyn wedi dyrysu. Sut y gallaf goelio y fath beth? Rhaid eich bod yn cyfeiliorni, syr.

Nid ydwyf yn cyfeiliorni, syr; yr wyf yn sicr o'r peth. Ac os ânt yno ——.

Ni arosodd y dyn iddo orphen y frawddeg, ond rhuthrodd allan o'r swyddfa.

Ydym yn dechreu medi o ffrwyth ein llafur, sylwai y boneddwr, fel yr elai ei gyfaill brawychus allan o'r swyddfa. Mae pethau yn troi allan yn gymhwys fel y dywedais wrtho yn y dechreu. Nid oedd dim a wnai y tro ond cael tafarn wych yn Cedarville, a phan agorodd Simon Slade y Black Lion, nid oedd neb yn moli yr anturiaeth yn fwy na'r boneddwr a aeth allan. Yn wir, fe allesid meddwl yn y dechreu fod Simon Slade yn myn'd i wneyd pawb yn foneddigion. Ond nid yw y daioni ond dim—ïe, llai na dim—mewn cymhariaeth i'r drwg y mae agoriad y dafarn wedi ei achosi.

Cydsyniais yn hollol â'r hyn a ddywedai, oblegid yr oeddwn wedi gweled llawn ddigon fy hunan i gyfreithloni y casgliad.

Fel yr oeddwn yn eistedd y noswaith hono yn *mar-room* y Black Lion, canfyddais, yn fuan wedi goleu y lampau, y boneddwr y cyfeiriwyd ato yn yr ymddyddan uchod, meibion yr hwn a gyhuddid o fod yn ymwelwyr yn y *bar*, yn dyfod i mewn yn ddystaw ac yn edrych yn bryderus o amgylch yr ystafell. Ni siaradodd â neb; ac wedi boddloni ei hunan nad oedd y rhai a geisiai yn bresennol, aeth allan.

Beth a'i gyrodd yma, tybed? gofynai Slade i Mathew, ceidwad y *bar*.

Ar ol y bechgyn, 'ddyliwn, atebwyd.

'Rwy'n meddwl fod y bechgyn yn ddigon hen i gymeryd gofal ohonynt eu hunain.

Mi ddylent fod, meddai Mathew.

Y maent, ebe Slade. Fuo nhw yma heno?

Naddo, eto.

Tra yr oeddynt yn ymddyddan â'u gilydd, daeth dau ddyn ieuanc i mewn, y rhai a welais y noson flaenorol, ac y sylwais eu bod o ymddangosiad dalentog a boneddigaidd tuhwnt i'r cyffredin o fasnachwyr y *bar-room*.

John, clywais Simon yn dywedyd, mae yr hen ddyn wedi bod yma yn gynar.

Naddo! ebai y dyn ieuanc yn synedig.

Do yn sicr. Gwell i chwi gadw o'r golwg.

Beth oedd o eisio?

Bron i ddim.

Beth ddywedodd o?

Dim byd. Daeth, ac edrychodd o'i gwmpas, ac aeth allan.

Yr oedd o'n edrych yn bur ddig, ebai Mathew.

Ydyw No. 4 yn wag? gofynai y dyn ieuanc.

Ydyw.

Gyrwch botel o win i mi i fyny, a *cigars*, a phan ddaw Bill Harding a Harry Lee yma, dywedwch wrthynt ble'r ydym ni.

Pobpeth yn iawn, ebai Mathew.

Gadawodd y ddau ddyn ieuanc yr ystafell yn frysiog. Nid oeddynt ond bron wedi gadael yr ystafell cyn i mi weled gwyneb pryderus yr un boneddwr yn dyfod i mewn drachefn.

Edrychodd drachefn yn gynhyrfus o amgylch yr ystafell; ac ymddangosai y tro yma yn bur siomedig. Fel y deuai i mewn, aeth Slade allan.

A fu John Wilson yma heno? gofynai, gan ddyfod i fyny at y *bar*, a chyfarch Mathew.

'Dydi' nhw ddim yma, atebodd Mathew.

Ond a fuon nhw ddim yma?

*Fe allai* iddyn nhw fod yma; yrwan y dois i oddiwrth fy swper.

Yr oeddwn yn meddwl fy mod wedi eu gweled yn dyfod i mewn o fewn rhyw funud neu ddau yn ol

Dydi nhw ddim yma, syr, siarai Mathew yn benderfynol, gan ysgwyd ei ben ar yr un pryd.

P'le mae Mr. Slade?

Yn y ty yn rhywle.

Mi ddymunwn i chwi ofyn iddo ddyfod yma

Aeth Mathew allan, ond daeth yn ol yn fuan gyda gair nad allasai ddod o hyd i Slade.

Ac yr ydych yn siwr nad ydyw y bechgyn yma? ebai y dyn yn amheuol.

Edrychwch drosoch eich hun, Mr. Harrison!

Efallai eu bod yn y parlawr?

Ewch i mewn, syr, atebai Mathew yn ddigyffro. Aeth y dyn trwy y drws i'r parlawr, ond dychwelodd yn fuan.

Ddim yna? gofynai Mathew. Ysgydwodd y dyn ei ben Dydw i ddim yn meddwl y medrwch eu cael o gwmpas yma, ychwanegai ceidwad y *bar*.

## YR ESTRYS.

YR estrys yw yr aderyn mwyaf o'r holl adar. Yn wahanol i'r adar yn gyffredin, nis gall hedeg, nis gall ymgodi byth oddiwrth y ddaear. Y mae ganddo goesau cryfion iawn, heb fod nemawr llai eu ffyrfdra a'u nerth na'r eiddo ceffyl. Cymhwyswyd ei goesau iddo, nid yn unig i redeg, ond hefyd tuagat amddiffyn ei hun. Yn wahanol hefyd i dylwythau y cicio, cicio ei elyn o'i flaen y mae yr estrys, ac nid o'r tu ol. Gwyddys am un dyn a gafodd gic gan yr estrys un tro, nes oedd yn ddyn marwol yn y fan. Pan yn rhedeg oddiar ffordd ei erlynydd, y mae ganddo ddull i godi y ddaear yn lluwchfeydd i'w chwyrnellu i wyneb ei elyn, ac anhawdd iawn oblegid hyny fydd ei ddal.

Gan na fwriadwyd i'r aderyn ehedeg, y mae ei edyn wedi eu llunio yn bur fychain; er hyny y mae ei edyn yn gymhorth mawr iddo pan y bydd yn rhedeg, oblegid ei fod mor fawr ac uchel, ag yntau yn myned mor gyflym, y mae ei edyn yn ei gynnorthwyo rhag ochri ar y naill law na'r llall.

Y mae yr estrys yn wasanaethgar iawn i'r llwythau Affricanaidd yn mysg y rhai y gwelir ef fynychaf; ond ni chyfrifir dim o hono yn werthfawr yn y wlad hon oddigerth ei bluf.

## BONEDDESAU YN YSMOCIO.

Y MAE tybaco, mewn rhyw ddull neu'i gilydd, yn cael ei fwynhau gan bron yr holl fyd preswyliedig. Y mae yr archwaeth at fyglys, fel yr hoffder at win, yn awydd cyffredinol yn mysg holl genedloedd a llwythau y ddaear. Yr un fath o ran hyn yw pobl waraidd y cwr hwn o'r byd, a barbariaid anwar tywyll-leoedd y ddaear,—y maent oll yn hoffi mygu, ac yn ymbleseru uwch ben catiad o ffwgws.

Mae y ffasiwn yn hynod yn mysg trigolion ynysoedd Phillipi. Nid oes neb o gyfoethogion yn y lleoedd hyny yn dangos eu trwynau tan yr hwyr. Treuliant y boreu, a rhan helaeth o'r prydnawn, i fwyta, gorweddian, cysgu, ac ysmocio.

Y mae ynys Luzon yn neillduol am hyny. Gwelir plant bychain, cyn y byddont yn gallu cerdded, yn dechreu ymarfer mygenau *(cigars)*. Y mae y menywod yn y gwledydd hyn yn fwy awyddus am fygenau na'r gwyr. Fedrant hwy ddim ymfoddloni ar y mygenau bychain cyffredin; defnyddiant rai anferth, yn mesur tua throedfedd o hyd, ac o drwch yn gyfatebol. Gelwir y mygenau hyny yn segârs y merched. Y mae golwg ysmala ar foneddesau mwyaf prydferth a thrwsiadus y wlad, yn cymeryd eu rhodianau hwyrol, gan gario y pentewynion hyn yn eu safnau.

## CLAFDY I HEN GATHOD.

BYDD ein darllenwyr yn darllen y peniad hwn ddwywaith drosodd efallai, ac yn ddarostyngedig i amheu cywirdeb y cysodiad. Beth bynag am dybiau o'r fath, y mae y fath beth a sefydliad elusengar yn ninas Aleppo i dderbyn cathod anghenus! Y mae yr adeilad yn gysylltiedig âg un o'r temlau Mahometanaidd sydd yn y dref grybwylledig.

Yr oedd rhyw hen Dwrc yn y gymydogaeth yn yd-fasnachydd enwog, a chafodd lawer o golledion, fel aml un yn Nghymru, oddiwrth lygod—mawr a bychain. I gael ymwared o honynt, fe heliodd leng o gathod, i fyw tan yr unto a hwynt. Difawyd y llygod oll, a boddhawyd yr hen foneddwr Tyrcaidd mor fawr fel ag y teimlodd ar ei galon i adael swm o arian gyda llywodraeth y Sultan i ddarparu sefydliad noddol a meddygol i'r genedl gathol. Darbodedd ar eu cyfer ystafell fawr, a chyflawnder o luniaeth. Ni yrid yr un o'r creaduriaid ymaith, ond byddai drws agored iddynt i fyned a dychwelyd pan fynent.

Yr oedd newyn mawr yn Syria yn 1845. Yr oedd degau o dlodion yn syrthio yn farw ar yr heolydd a'r ffyrdd bob dydd, oblegid angen ac eisieu, o flaen llygaid y cyfoethogion ag oedd mewn llawnder. Ond byddai y cathod oll mewn digonedd, tra canoedd o deuluoedd yn trengu o angen!

dinhadau yr efengyl yn eu plith? Meddyliem glywed llais yn cael ei gyfeirio atom ar eu rhan, ac yn gofyn, "Mae Abel dy *frawd?*" A feiddiwn ni roddi yr un atebiad a'r llofrudd, "Ai ceidwad fy mrawd ydwyf fi?" Hefyd, gan fod cymaint o Gymry yn ymfudo y blynyddau hyn i wahanol drefydd Lloegr, y mae'n bosibl y gall cynghor y cenadau trefol, neu ranau o'r Ysgrythyr a ddarllenir gan y *Scripture reader* gofalus, fod o fendith i laweroedd ohonynt, pan mewn amgylchiadau o gyfyngder neu dristwch. Ac os bydd afiechyd yn gorfodi y dyn i fyned i'r yspytty i ymofyn gwellhad, pwy all ddirnad y lles ysbrydol a all dderbyn yno trwy gynghorion yr ymwelydd crefyddol. Mewn gair, y mae gwahanol gangenau y Genadaeth Gartrefol fel cynifer o ffrydiau iachusol yn llifo trwy'r deyrnas i adfywio ac i loni y teithiwr blinedig yn nghanol profedigaethau y bywyd hwn.

*(I'w orphen yn y nesaf)*

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

### Y CHWECHED NOSWAITH.

SAFAI Mr. Harrison—dyna yr enw y cyfarchai Mathew ef—am ychydig funudau yn anmhenderfynol. Yr oedd yn sicr ganddo iddo weled ei feibion yn dyfod i mewn, ac eto nid oeddynt i'w cael yno. O'r diwedd eisteddodd mewn congl neillduedig yn y *bar-room*, yn ddiamheu gyda'r bwriad i aros i weled a ddeuai y rhai a geisiai i mewn. Nid oedd wedi bod yno yn hir cyn i ddau ddyn ieuanc ddyfod i mewn, ymddangosiad y rhai a'i cynhyrfodd yn fawr. Aethant i fyny at y *bar*, a galwasant am *liquor*. Fel y dodai Mathew y gwirod o'u blaenau, gwyrodd dros y *counter*, a siaradodd rywbeth yn eu clustiau.

Yn mhle! gofynai y dynion ieuainc yn synedig, gan edrych yn gynhyrfus o amgylch yr ystafell. Cyfarfuasant â llygaid tanllyd Harrison wedi eu sefydlu yn unionsyth arnynt. Deallais wrth eu dull yn yfed y brandi a'r dwr nad oeddynt yn mwynhau y peth o gwbl.

Be dd—— mae o eisio yma? ebe un, mewn llais isel.

Ar ol y bechgyn, wrth gwrs.

Ddaethon nhw yma?

Winciodd Mathew wrth ateb. Pobpeth yn iawn.

Yn No. 4?

Ië. Ac mae'r gwin a'r *cigars* yn eich haros.

Dyna fo'n iawn.

Well i chwi beidio myn'd trwy y parlawr. Mae yr hen law o'i go. Mae o braidd yn amheu eu bod nhw yn tŷ. Well i chwi fyn'd i lawr yr heol, a dwad yn eich holau, a myn'd trwy y *passage*.

Ar yr awgrym aeth y ddau allan, a Harrison yn edrych arnynt.

Arosodd Harrison yn yr un sefyllfa am agos i awr o amser, gan gymeryd sylw craff o bobpeth a gymerai le. Yr wyf yn cyfeilliorni yn fawr os nad oedd cyn gadael y lle melldigedig hwnw yn berffaith foddlawn i wneyd cyfraith yn erbyn y fasnach feddwol. Ië, yr wyf yn credu pe buasai y gallu yn ei law i roddi terfyn ar y fasnach ddamniol hon na buasai yr un dafarn i'w chael yn yr holl dalaeth cyn pen awr o amser. Tra yr oedd efe eto yn y *bar-room* gwnaeth Willy Hammond ei ymddangosiad. Yr oedd ei edrychiad yn wyllt a chynhyrfus. Galwodd yn gyntaf am frandi, ac yfodd ef yn awchus.

P'le mae Green? gofynai, fel y dodai y gwydryn o'i law.

Ni welais mono er amser swper.

A ydio yn ei ystafell?

Ddigon tebyg ei fod.

Fu y Barnwr Lyman yma heno?

Do. Fe fu yn taranu yma am haner awr yn erbyn y dirwestwyr, fel arferol, ac yna ——. Amneidiodd Mathew tua'r drws oedd yn arwain i ryw ystafell i fyny.

Yr oedd Hammond yn cyfeirio tua'r drws, pryd, wrth edrych o gwmpas yr ystafell, y cyfarfu edrychiad treiddgar Mr. Harrison—edrychiad a barodd iddo attal myned yn mlaen. Trodd yn ei ol at y *bar*, a gofynodd yn ddystaw i Mathew,

Beth ai gyrodd o yma?

Winciodd Mathew yn ddeallgar.

Ar ol y bechgyn? gofynai Hammond.

Ië.

B'le mae nhw?

I fyny.

Ydi'r hen law yn amheu hyn?

Wn i ddim. Os nad ydio'n meddwl hyn, y mae o'n aros iddynt ddwad i mewn.

Ydyn nhw yn gwybod ei fod o yma?

O, tebyg iawn.

Pobpeth yn iawn ynte?

I'r blewyn. Os oes arnoch eisieu eu gweled, rhowch dap wrth No. 4.

Arosodd Hammond am ychydig funudau, gan ledorwedd ar y *bar* yna, heb droi ei lygaid i'r ystafell lle yr oedd Mr. Harrison, aeth drwy y drws oedd yn arwain i'r heol. Yn fuan wed'yn aeth Mr. Harrison ymaith. Wedi llwyr flino, fel y noson o'r blaen, ar ymddyddanion llygredig y *bar-room* gadewais yr ystafell gan fyned i'r awyr agored. Nid oedd un cwmwl i'w ganfod yn yr holl wybren, a dysgleiriai y lleuad, yr hon oedd bron yn llawn, yn fwy llachar na chyffredin. Nid oeddwn wedi bod yn eistedd yn hir yn y porth cyn i'r un foneddiges, symudiadau yr hon a dynodd fy sylw y noson flaenorol, wneyd ei hymddangosiad. Yr oedd yn agoshau yn arafaidd tua'r dafarn; a

phan ddaeth gyferbyn a'r drws arosodd am foment i edrych i mewn, yna aeth yn ei blaen nes iddi fyned o'm golwg.

Druan ydyw y fam yna, meddwn wrthyf fy hun, pan y gwelwn hi eilwaith yn dychwelyd. Yr oedd yn cerdded yn araf, a'r tro hwn daeth yn agosach at y tŷ. Yr oedd y dyddordeb a gymeraswn ynddi mor gryf fel y methais ymattal heb ei chyfarch. Dychrynodd braidd pan y siaradais â hi, a cherddodd yn ol ychydig latheni.

Pwy ydych yn ei geisio? gofynais yn dyner. Yr oedd y wraig erbyn hyn mewn sefyllfa i'r lleuad lewyrchu ar ei hwyneb, a dangos pob llinell yn ei phrydwedd. Yr oedd yn amlwg ei bod wedi pasio canolddydd bywyd; ac yr oedd gofid a phryder wedi gadael eu nodau ar ei hwynebpryd prydferth. Canfyddais fod ei gwefusau yn symud, ond bum am beth amser cyn deall ei geiriau.

A welsoch chwi fy mab i heno? Mae nhw'n deud ei fod yn dyfod yma.

Parodd ei dull yn dyweyd y geiriau i ryw iasau oerion redeg troswyf. Deallais fod meddwl y wraig yn dyrysu. Atebais,

Naddo, ma'm; ni welais ddim ohono.

Achosodd tôn fy llais ynddi ryw enyniad o ymddiried ynof, oblegid daeth i fyny ataf i fy ymyl, a gwyrodd ei phen tuagataf—

Lle ofnadwy sydd yma, sisialai. Ac mae nhw'n deud ei fod o yn dwad yma. Y bachgen druan! Dydi o ddim yn debyg i'r peth oedd o.

Ië, lle drwg iawn sydd yma, meddwn. Dowch—a symudais gam neu ddau i'r cyfeiriad y gwelais hi yn dyfod—dowch, gwell i chwi fyned ymaith mor fuan ag y medroch. Ond os ydio yma, atebai,—heb symud o'r fan y safai,—mi allwn ei achub, wyddoch.

Yr wyf yn sicr na chewch mohono yma, meddwn. Efallai ei fod adref erbyn hyn.

Oh, nag ydi! ac ysgydwodd ei phen yn ofidus. Dydio 'namser yn dwad adref nes bydd hi yn mhell yn y bore Mi leiciwn edrych tu mewn i'r *bar-room*. Rwy'n siwr ei fod yna

Dywedwch i mi ei enw, ac mi af i chwilio am dano.

Ar ol ychydig betrusder dywedodd,—

Ei enw ydi Willy Hammond.

Oh! fel y gwnaeth yr enw—yn cael ei ddyweyd mor drist a chyda'r fath deimlad mamol—i mi ddychrynu ac arswydo!

Os ydyw eich mab yn y tŷ yn rhywle, meddwn yn benderfynol, mi af i'w gyrchu atoch. A gadewais hi, gan fyned i'r bar.

Yn mha ystafell y gallaf ddod o hyd i Willy Hammond? gofynais i Mathew.

Edrychodd arnaf yn ymchwilgar, ond nid atebodd efe ddim. Yr oedd y cwestiwn wedi dyfod yn annysgwyliadwy.

Ai yn ystafell Harvey Green? ychwanegais.

Wn i ddim, yn siwr. Dydi o ddim yn tŷ am wn i. Mi gwelais o'n myn'd allan o fewn rhyw haner awr yn ol.

Ystafell Green ydyw No. —?

11, atebodd.

Yn y rhan flaenaf o'r tŷ.

Ië.

Ni ofynais ychwaneg o gwestiynau, ond prysurais at No. 11, a churais y drws. Ond nis atebodd neb. Gwrandewais, ond methais a chlywed y swn lleiaf. Curais drachefn yn drymach. Os na thwyllwyd fi gan fy nglustiau, clywais dinc arian. Eto nid oedd swn llais na symudiad i'w glywed.

Yr oeddwn wedi fy siomi yn fawr. Yr oeddwn yn sicr fod rhywrai yn yr ystafell. Cofiais i mi glywed fod goleuni i weled trwy rwygiad yn y llen a orchuddiai y ffenestr, a phrysurais i lawr ac i'r heol. Canfyddais ychydig oddiwrth y tŷ y fam drallodus yn cerdded yn ol a blaen. Edrychais tua'r ffenestr, yr hwn y gwyddwn mai ystafell Green ydoedd, gwelwn oleu yn ddigon eglur trwy y rhwygiad yn y llen. Prysurais yn ol i'r tŷ, ac i fyny at No. 11. Y tro hwn curais yn awdurdodol, a gwneis iddynt fy nghlywed.

Beth sydd eisio?" ebai llais oddimewn. Adnabum lais Harvey Green.

Ni wneis ond curo yn drymach. Clywais y tro hwn sibrwd a rhyw symudiadau cyffrous; yna dadglowyd y drws, a darn agorwyd ef gan Green, corff yr hwn a lanwai y lle agored fel nad allwn edrych i mewn. Pan welodd mai myfi oedd yno edrychodd yn sarug.

Beth ydych chwi eisio? gofynai yn fursenaidd.

A ydyw Mr. Hammond yma? os ydyw, y mae ei eisieu i lawr.

Na dydi o ddim yma, oedd yr ateb cwta. Beth a'ch gyrodd chwi i'w nol ef?

Y ffaith fy mod yn dysgwyl ei gael yn eich hystafell chwi, atebais yn wrol.

Yr oedd Green ar fedr cau y drws ar fy nanedd pan y dododd rhyw un ei law ar ei ysgwydd, a sisialodd rywbeth yn ei glust nad allwn ei glywed.

Pwy sydd eisio ei weled? gofynai.

Deallais yn ebrwydd fod Hammond yn yr ystafell, a dywedais mewn llais uchel,

Ei fam.

Agorwyd y drws gyda herc, a safodd Hammond â'i wyneb fel tân o fy mlaen.

Pwy sy'n dyweyd fod fy mam yna? gofynai.

Yr wyf newydd ddyfod oddiwrthi, meddwn; cewch hyd iddi yn cerdded yn ol a blaen o flaen y dafarn.

Gyda llam aruthrol, rhuthrodd heibio i mi, a disgynodd i lawr mewn moment. Wedi i'r drws gael ei agor gwelais heblaw Green a Hammond, Slade a Barnwr Lyman. Nid oedd eisieu y cardiau gwasgaredig ar y bwrdd i ddyweyd i mi beth oedd yn cael ei gario yn mlaen yno.

Mor fuan ag y medrais canlynais Hammond, a chyfarfyddais ef yn y porth yn dyfod o'r heol.

Yr ydych wedi fy nhwyllo, syr, meddai yn ddigofus.

Naddo, syr! atebais. Ni dywedais i chwi ond y gwir. Edrychwch! Dyma hi yrwan.

Trodd ei lygaid, a neidiodd tuagati, a gafaelai yn ei braich.

Oh mam! mam! beth a'ch dygodd chwi yma? meddai yn synedig, eto yn dyner.

Oh Willy! Willy! clywais hi'n ateb. Mae nhw'n dyweyd i mi eich bod yn dyfod yma bob nos, a fedrwn i ddim bod yn llonydd. O'r anwyl! mi'ch lladdan chwi! Rwy'n gwybod y gwnant. Peidiwch, Oh!

Ni chlywais y gweddill o'i geiriau, ond parhäai ei llais torcalonus yn fy nghlyw am beth amser. Yn mhen ychydig funudau yr oeddynt o'm golwg.

Yn mhen oddeutu ddwy awr wedi hyn, pan oeddwn yn myned i'm hystafell, rhuthrodd dyn heibio i mi. Edrychais ar ei ol, a chanfyddais berson Willy Hammond. Yr oedd yn myned i ystafell Green!

## BYDD YN RHYWBETH.

Ddyn ieuanc!—cymer yr ymadrodd cynnwysfawr yma at dy ystyriaeth,—*Bydd yn rhywbeth*. Beth fedri di wneyd yn y pum' mlynedd nesaf a fydd yn fwyaf o les a dyrchafiad iti am dy oes? Os ydwyt yn awr yn bymtheg oed, edrych beth a elli di fod erbyn y cyrhaeddi ugain. Os wyt yn awr yn ugain oed, meddylia beth elli di fod erbyn y byddi yn bump-ar-hugain. Ac oes ydwyt eisoes yn bump ar-hugain ystyria beth elli di fod erbyn y byddi yn ddeg-ar-hugain; a phenderfyna y myni *fod yn rhywbeth* erbyn y pryd hwnw. Penderfyna y myni di fod yn anrhydedd i'th gyfeillion a'th wlad, yn ddefnyddiol i'th gyd-ddynion; ac fel y bydd yn golled i'r byd a'r dy ol pan orphena dy ddydd ac y gelwir arnat i fyned i dderbyn dy wobr, sef etifeddiaeth y rhai cyfiawn yn y gwynfyd tragywyddol.

Ddyn ieuanc!—ddarfu i ti ystyried y fath beth ydyw y meddwl dynol? Y fath alluoedd dadblygedig sydd ynot! Y mae dynion ieuainc wedi eu cynysgaeddu â galluoedd ymenyddol nad ydynt wedi breuddwydio faint yw eu nerth a'u gwerthfawredd. Meddai un ysgrifenydd meddylgar, "Rhaid i ni oruwch-ddringo uchelderau, a disgyn i ddyfnderoedd ein hunain. Rhaid i ni deimlo os nad allwn fesur nerthoedd a thueddiadau ein heneidiau." Yr hyn sydd ar lawer dyn ieuanc ei eisieu ydyw, yn syml,—dadblygiad ac addysg i'r galluoedd eneidiol sydd yn gorwedd erioed heb ei symud o'i fewn. Gyfaill ieuanc, gad i waith, llafur, ac efrydiaeth, ddwyn yni y rhai hyny allan yn eu nerth, a chaiff y byd wybod eto dy fôd, a theimlo dy werth!

Y fath feusydd o ymchwiliadaeth a gwybodau sydd yn ymledu o flaen y meddwl ieuanc, fel yn ei demtio i ddyweyd, *Byddaf finau yn rhywbeth*. Cofier yn wastad y rhaid *bod* yn rhywbeth, cyn y gellir *gwneyd* dim.

Ddarllenydd ieuanc!—pan red dy olygon dros hyn o linellau, gwna benderfyniad fel hyn, a bydd ddi-ildio i'w gadw:—Yn gyntaf, *byddaf* yn rhywbeth; yn ail, *gwnaf* rywbeth.

## GAIR I GYMRO.

Gymro, dàl dy ben i fynn,
  Cwyd dy olwg tua'r nef;
Saf ger bron y byd heb grynu,
  Myn wrandawiad i dy lef:
Myn gael gan ei blant dy barchu—
  Myn gyfiawnder ganddo ef.

Dywed wrth yr hogyn acw,
  Coegyn balch o Loegr draw,
Wawdia dy gymeriad gloew:—
  "Hogyn difarf, difarn,—taw;"
Ac os gwrthyd ddal ei dwrw,
  Siarad wrtho â dy law.

Paid a derbyn gwawd casineb
  Ffyliaid, yn dy dŷ dy hun;
Tafl eu gwawd yn ol i'w gwyneb—
  Dangos nad wyt yn llai na dyn:
Siarad wrthynt yn ddiwrtheb,
  Gwna esiampl o bob un.

Dyro rymus wers a haner
  Ambell waith i ambell un;
Gwers a gofir yn mhen amser—
  Gwers ddeallir gan bob dyn;
Fe wnai hyny les i lawer
  Heblaw iddo ef ei hun.

Gwel y saeth yn cael ei gollwng
  At dy galon, am dy waed;
Paid a chilio, paid ymostwng
  Byth i lyfu llwch ei draed;
Beiddia ef dy ddarostwng—
  Da o'r llwfr erioed ni chaed.

Os rhaid byw mewn llaid a phydredd,
  Gwell yw bod yn bryf na dyn;
Gwell heb deimlad o anrhydedd,
  Os rhaid llyfu traed pob un.
Nid oes asyn byth wnai orwedd
  O dan draed ei ryw ei hun.

Nid oes raid i Gymro wrido
  Am ei fod yn Gymro glân;
Ac ni ddylai gywilyddio
  Arddel Cymru, gwlad y gân:
Pwy a mwy o le i ymffrostio—
  P'le a mwy o nefol dân?

Tanied bywiol sel dy galon
  Dros dy iaith a thros dy wlad;
Dal dy darian megys gwron
  Rhyngddynt byth a saethau brad;
Tynga na chaiff byd o alon
  Waed dy genedl hoff yn rhad.

Awst 11, 1859. R. J. Derfel.

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

### Y SEITHFED NOSWAITH.

YMDDANGOSAI sefyllfa pethau yn Cedarville y pryd hwn yn dra anobeithiol. Nid allwn lai na theimlo dyddordeb cryf yn rhai o'r pleidiau hyn. Yr oedd achos Willy Hammond o'r dechreuad wedi creu ynof ryw ddawr anghyffredin; ac yr oedd ymddangosiad annysgwyliadwy ei fam ar y chwareufwrdd wedi mwyhau y peth yn fawr. Yr oedd y boneddwr—yn swyddfa yr hwn y cyfarfum â Mr. Harrison y dydd o'r blaen—yn berffaith gydnabyddus â holl achosion pethau yn Cedarville, a gelwais gydag ef yn fore dranoeth i'r dyben o wneyd ymholiadau yn nghylch Mrs. Hammond. Gofynais iddo yn mlaenaf a oedd efe yn adnabod y foneddiges—i'r hyn y'm hatebodd,—

Oh, ydwyf. Yr oedd yn un o fy nghyfeillion boreuaf.

Sylwais nad oedd y crybwylliad am ei henw yn cynnyrchu effaith ddymunol, oblegid rhoddodd ochenaid drom ac ymlywiodd ei wyneb.

Ai Willy ydyw ei hunig blentyn?

Ei hunig blentyn byw. Yr oedd ganddi bedwar; mab arall a dwy ferch; ond collodd hwynt oll ond Willy pan oeddynt yn dra ieuainc. Ac, ychwanegai, fe fuasai yn well iddi hi—ac i Willy hefyd—pe buasai yntau wedi myn'd i wlad well gyda nhw.

Mae ei ddull o fyw yn ei chystuddio yn fawr, sylwais.

Y mae yn dinystrio ei rheswn, atebai, gyda phwyslais. Efe ydoedd ei duw hi. Ni charodd mam erioed fab yn fwy nag y carodd Mrs. Hammond ei bachgen hardd a thalentog Willy. Yr oedd ei chariad a'i gofal gymaint am dano fel na oddefai iddo ei gadael—ond yr amser y byddai yn yr ysgol—ond nesaf peth i ddim. Yr oedd wrth ei hochr bob amser bron. Hyd nes oedd yn un ar bymtheg oed, nid wyf yn gwybod iddo ddangos yr awyddfryd lleiaf am gwmni neb arall ond ei fam. Ond chwi wyddoch nad oedd yn bosibl i hyn bara'n hir. Yr oedd y byd mawr llydan o'i flaen, ac yntau yn rhwym o fyned iddo. O! fel y crynai ei fam gan bryder wrth iddo adael ei hochr! Gwyddai yn dda am y peryglon a amgylchynai ei lwybr; a mwyheid y rhai'n gan ei hofnau—o leiaf dyna fel yr arferent ddyweyd wrthi. Ond Och! nid oedd ei holl ofnau ond megys dim wrth yr hyn y trodd allan wedi hyn.

Pan oedd Willy yn ddeunaw oed—yr oedd y pryd hwn yn darllen y gyfraith—yr wyf yn meddwl na welais ddyn ieuanc erioed mor addawol. Ond yr oedd ganddo dalent beryglus—dawn a llithigrwydd ymddyddanol anarferol. Yr oedd pob un a ddeuai i'w gwmni yn cael ei swyno ganddo; ac yn fuan cafodd ei hunan yn amgylchynedig â chylch o ddynion ieuainc, a rhai o honynt heb fod yn feddiannol ar y cymeriad goreu. Eto, yr oedd ei dueddiadau pur a'i egwyddorion anrhydeddus yn ei gadw yn ddiogel: ac nid wyf yn credu y buasai dylanwad cymdeithasol yn ei lithro o'r iawn lwybr oni buasai i'r dafarn ddamniol yma gael ei hagor gan Slade.

Yr oedd genych dafarn yma cyn i'r "Black Lion" gael ei hagor, meddwn.

Oh, oedd. Ond yr oedd yn cael ei chadw yn wael, a'r dosbarth isaf ydoedd ymwelwyr y *bar-room*. Ni welid un dyn anrhydeddus yn Cedarville un amser yno. Nid oedd yn un demtasiwn i un oedd yn troi yn y cylch yr oedd Willy ynddo. Ond achosodd agoriad y "Black Lion" gyfnod newydd. Rhoddodd y Barwn Hammond—yr hwn sydd ei hunan heb fod y dyn puraf yn y byd, 'rwyf yn ofni—ei gefnogaeth i'r sefydliad, a siaradai am Simon Slade fel dyn anturiaethus a chanmoladwy. Dilynodd y Barnwr Lyman ac ereill o foneddigion Cedarville ei esiampl ddrwg; a daeth *bar-room* y "Black Lion" yn fuan i gael siarad am dano fel lle *respectable*. Gallasech weled bob awr o'r dydd a'r nos ein gwyr ieuainc mwyaf gobeithiol yn myned i mewn ac allan gan siarad law yn llaw â'r tafarnwr—yr hwn, o fod yn felinydd, oedd erbyn hyn wedi ei ddyrchafu yn ddyn pwysig, ac un y teimlai y dynion goreu yn Cedarville yn llawen o gael ei anrhydeddu.

Aeth Willy gyda'r llif. Yn fuan, fuan, aeth mor hoff o yfed nes peru dychryn i'w gyfeillion. Mae yn rhuthro yn ei flaen byth er hyny. Fflamiodd y gwenwyn tanllyd ei feddwl, ac ar yr un pryd tywyllodd ei amgyffredion cryfion. Ymddygai ei dad ato yn ysgafn a difater, a chlywais ef yn dyweyd mai fflam boreu oes ydoedd, ac y byddai yn sicr o oeri wedi iddo heneiddio ychydig. Ond yr oedd ei fam yn hollol wahanol. Yr oedd hi yn dychryn ac yn dyrysu wrth ei weled yn myn'd yn mlaen mor ryseddus Pan siaradai hi âg ef, gan ei gynghori i adael ei ffyrdd llygredig, chwarddai yn ddiystyr am ei phen.

Fel hyn yr aeth yn mlaen fis ar ol mis, blwyddyn ar ol blwyddyn, nes iddo fyned yn destyn siarad pawb. Er mwyn, os oedd bosibl, troi ei feddwl i *channel* newydd, prynodd ei dad hen felin Slade. Ymddiriedodd y gwaith a'r arian i Willy—ond gwyddoch beth fu'r canlyniad.

Effeithiodd hyn ar Mrs Hammond yn fawr. Ni ŵyr neb beth a ddyoddefodd. Bu am bymthengnos heb gau eu llygaid, yn cerdded yn barhaus yn ol a blaen yn ei hystafell. Yna cafodd gwsg trwm, a phan ddeffrodd, yr oedd ei rheswm wedi ei gadael. Byth er hyny nid yw yn gwybod yn glir beth sydd yn myned yn mlaen o'i chwmpas.

Oni ddarfu i'r dygwyddiad hwn ddychrynu y dyn ieuanc o'i freuddwyd syfrdanol? gofynais.

Naddo. Yr oedd yn caru ei fam, a gofidiau yn fawr oherwydd y peth; ond ymddangosai fel un nad allai ei stopio. Yr oedd rhywbeth fel yn ei orfodi yn ei flaen. Os ffurfiai benderfyniadau da—a diau iddo wneyd hyny—mor gynted ag yr âi i fysg ei hen gwmni, yr oedd yn eu tori fel edau wlan. Yr oedd y ffordd ar hyd yr hon y byddai yn myn'd i'r felin yn arwain heibio y "Black Lion," ac nid hawdd fyddai iddo basio heb gael ei dynu i'r *bar*, naill ai trwy ei chwant am y ddiod, neu ar gymhelliad rhyw gydymaith caredig a arferai sefyllian o amgylch y dafarn.

Efallai fod rhywbeth mwy yn ei dynu yno na'i chwant am y ddiod, meddwn.

Beth?

Adroddais wrtho, yn fyr, yr hyn a ddygwyddodd y noson flaenorol.

Ah! yr oeddwn yn ofni—ïe, yr oeddwn bron yn sicr—ei fod wedi myn'd i faglau y dyn hwn. Ac eto, y mae yr hyn a ddywedwch yn fy synu, meddai, gan symud yn ol a blaen yn gynhyrfus. Os bum yn amheu o barth Willy Hammond, nid oes amheuaeth ynof mwyach. Nid yw y gair "dirgelwch" yn awr yn ysgrifenedig uwchben drws ei breswylfod. O Dad! ai fel hyn yr arweinir dy wyr ieuainc i demtasiwn? Ai fel hyn y goddefir i'r gelyn daenu ei rwydau? Och fi! mae y peth yn arswydus! arswydus!

Yr oedd y dyn wedi ei gynhyrfu yn ddirfawr. Aeth yn mlaen yn hyawdl dros ben am ysbaid.

Yr wyf bob amser yn poethi wrth ymdrin â'r pwnc hwn, meddai. A phwy a åll edrych ac ystyried y pethau hyn heb gael ei gynhyrfu?

Tra yr oedd efe eto yn llefaru, daeth Mr. Hammond—tad Willy—i mewn. Ymddangosai yn brudd a thruenus. Gwahoddodd y person y buaswn yn ymddyddan âg ef ychydig o'r neilldu, ac ymgomiai âg ef yn ddifrifol am amryw funudau. Yr oeddwn yn gallu gweled ei wyneb, er na ddeallwn ddim o'r hyn a ddywedai. Yr oedd ysgogiadau ei wyneb yn boenus i edrych arnynt, oblegid yr oedd pob symudiad yn dangos arteithiau annesgrifiadwy ei feddwl.

Ceisiwch ei weled, wnewch chwi? meddai, wrth adael y swyddfa.

Af yno yn union, atebwyd.

Dowch ag ef adref, os bydd bosibl.

Gwnaf fy ngoreu i hyny.

Ymgrymodd y Barnwr Hammond yn foesgar, ac aeth allan yn frysiog.

A ydych chwi yn gwybod No. ystafell Green? gofynai y boneddwr mor gynted ag yr ymadawodd Hammond.

Ydwyf. No. 11.

Mae Willy heb fod adref er neithiwr. Mae ei dad, erbyn hyn, yn drwgdybio Green ei fod yn gamblwr! Ni ddaeth y peth i'w feddwl hyd ddoe; ac y mae hyn, at ei holl brofedigaethau, yn ei yru, fel y dywed, bron yn wallgof. Fel ffrynd mae yn dymuno i mi fyned i'r "Black Lion" i geisio dod o hyd i Willy. A welsoch chwi rywbeth oddiwrtho heddyw'r bore?

Atebais ef yn nacaol.

Na Green?

Naddo.

A oedd Slade o gwmpas pan adawsoch y dafarn?

Ni welais i ddim o hono.

Fe all yr hyn y mae Barnwr Hammond yn ei ofni fod yn rhy wir—fod y twyllwr hwn yn ceisio sugno cymaint ag a all o hono cyn ei luchio yn ddidrugaredd o'i ddwylaw.

Rhaid fod y dyn ieuanc wedi ei lyncu i fyny ganddo cyn y buasai yn dyfod yn ei ol yr adeg hono o'r nos neithiwr. Ddarfu i chwi son am hyn wrth ei dad?

Naddo. Buasai hyny yn ei ofidio yn fwy, heb effeithio dim daioni. Y mae yn ddigon cythryblus eisoes. Ond mae'r amser yn pasio, ac nid oes dim i'w golli. A ddowch chwi gyda mi?

Aethum gydag ef at y dafarn—aethom gyda'n gilydd i mewn i'r *bar*. Yr oedd dau neu dri o ddynion wrth y *counter* yn yfed.

A ydyw Mr. Green o gwmpas yma heddyw'r bore? gofynwyd gan y person a ddaeth gyda mi i chwilio am Willy Hammond.

Ni welais i ddim oddiwrtho.

A ydyw ef yn ei ystafell?

'Dalla i ddim deud.

A wnewch chwi ymorol?

Gwnaf siwr. Frank,—siaradai â mab y tafarnwr—yr hwn oedd yn gorweddian ar y fainc—ewch i edrych a ydyw Green yn ei ystafell.

Ewch ych hunan. Nid y fi ydi'ch gwas chwi, oedd yr atebiad grwgnachlyd.

Cewch wybod mewn munud, syr, ebai Mathew yn foesgar.

Wedi gweini ar y cwsmeriaid oedd wrth y *bar*, aeth Mathew i fyny'r grisiau i ymorol am Green. Fel yr elai Mathew o'r *bar-room*, cyfododd Frank, ac aeth a chymysgodd wydraid o *liquor*, ac yfodd ef yn awchus.

Arferiad tra pheryglus i un mor ieuanc a chwi, sylwai y boneddwr oedd gyda mi, fel yr elai Frank allan o'r *bar*. Yr unig ateb a gafodd ydoedd edrychiad gwgus, cystal a dyweyd—Dydi o ddim o'ch busnes chwi.

Dydi o ddim yna, ebai Mathew wrth ddyfod i mewn.

A ydych yn siwr.

Ydwyf, syr.

Ond yr oedd rhywbeth yn ei ddull yn dyweyd yn peri i ni ei amheu. Aethom allan gyda'n gilydd i ymgynghori ar y pwnc, a daethom i'r penderfyniad nad oedd gair Mathew i ymddiried ynddo.

Beth sydd i'w wneyd? gofynwyd.

Myn'd at ystafell Green, atebais, a churo y drws. Os yw yno, efallai yr etyb, heb ddrwgdybio ein neges.

Dangoswch i mi yr ystafell.

Arweiniais ef at No. 11. Curodd yn ysgafn, ond ni ddaeth yr un atebiad. Mynychodd y curiad—yr oedd pob peth yn ddystaw. Trachefn a thrachefn y curodd, ond ni chlywid ond adsain dwfn y curiad.

Does yna neb, meddai, gan droi ataf i, a cherddasom i lawr y grisiau. Pan y cyrhaeddasom y gwaelod, cyfarfuasom â Mrs. Slade. Ni chefais, yn ystod yr ymweliad hwn â Cedarville, sefyll wyneb yn wyneb â hi o'r blaen. O! y fath olygfa arswydus oedd arni! Yr oedd y wyneb hawddgar a phrydferth wedi myned yn bantiog a hagr. Yr oedd ei chorff iraidd ac unionsyth gynt, yn gam ac yn afluniaidd. "Drych o dristwch oedd edrych drosti."

A welsoch chwi Mr. Green heddyw'r bore? gofynais.

Mae o heb ddod i lawr o'i ystafell eto, atebodd.

A ydych yn sicr? gofynai fy nghyfaill. Curais wrth y drws amryw weithiau,—ond ni chefais un ateb.

Beth sydd arnoch eisieu ganddo? gofynai Mrs. Slade, gan sefydlu ei llygaid arnom.

Yr ydym yn chwilio am Willy Hammond, ac fe ddywedir ei fod gyda Green.

Curwch ddwywaith yn ysgafn, yna curwch deirgwaith yn drymach, ebai Mrs. Slade, a llithrodd heibio i ni.

A gawn ni fyn'd gyda'n gilydd?

Ni wrthwynebais, oblegid, er nad oedd genyf hawl gyfreithlon i ymyraeth yn y mater, yr oedd fy nheimladau wedi eu cynhyrfu yn yr achos, nes i mi fyned heb ystyried beth oeddwn yn ei wneyd.

Curwyd y drws fel y dywedodd Mrs. Slade, a chafwyd atebiad uniongyrchol. Agorwyd y drws yn arafaidd, a gwnaeth gwyneb aneilliedig Simon Slade ei ymddangosiad.

Mr. Jacobs! meddai yn synedig, a ydych yn dymuno fy ngweled i?

Nac ydwyf, syr: yr wyf yn dymuno gweled Mr. Green, a chyda hergwd gwthiodd y drws yn llydan agored. Yr un rhai oedd yno a'r rhai a welais y noson flaenorol—Green, Willy Hammond, Barnwr Lyman, a Slade. Ar y bwrdd, wrth yr hwn yr eisteddai y tri blaenaf, yr oedd cardiau, darnau o bapyrau, taclau ysgrifenu, a phentwr o *bank-notes*. Ar fwrdd bychan arall oedd yn eu hochr yr oedd potelau, *decanters*, a gwydrau.

Barnwr Lyman! A ydyw yn bosibl? ebai Mr. Jacobs—canys dyna oedd enw fy nghyfaill; ni feddyliais eich cael chwi yma.

Ysgubodd Green ei ddwylaw dros wyneb y bwrdd, er mwyn sicrhau yr arian a'r biliau; ond cyn iddo gwblhau ei amcan neidiodd Willy Hammond i dri neu bedwar o bapyrau culion a rhwygodd hwynt yn sitrach.

Y d———l melldigedig, twyllodrus! gwaeddai Green, yn ffyrnig, gan wthio ei law i'w fynwes, fel pe buasai yn ceisio rhyw erfyn; ond ni chafodd ond prin ddyweyd y geiriau, cyn i Hammod ruthro arno, gyda chreulondeb teigar, gan ei dynu i'r llawr mewn amrantiad. Yr oedd ei ddwylaw mewn moment wedi eu planu yn ngwddf y gamblwr, a chyn i'r edrychwyr syfrdanol gael amser i ymyraeth, yr oedd Green yn ddulas yn ei wyneb, a bron wedi ei lindagu.

Fy ngalw'n dd———l twyllodrus, ah! meddai Hammond gan ewynu o gwmpas ei safn. Y fi! yr hwn yr ydych wedi ei hela fel gwaedgi sychedig. Y fi! yr hwn yr ydych wedi ei robio, ei dwyllo, a'i ddarostwng o'r dechreuad! Oh! am bistol i ryddhau y ddaear o'r adyn mwyaf melldigedig ac uffernol sydd yn troedio ei hwyneb! Gollyngwch fi! 'Does gen i ddim wedi ei adael yn y byd yn werth i mi hidio dim am dano—'does yr un canlyniad i mi ei ofni. Gadewch i mi wneyd un gymwynas dda i gymdeithas cyn fy marw!

A chydag un cais grymus cliriodd ei hunan o'n gafael, a rhuthrodd drachefn ar y gamblwr, gyda chynddaredd ac egni bwystfil anwaraidd. Erbyn y tro hwn yr oedd Green wedi cael gafael yn ei gyllell, ac fel y gwnai Hammond ei ruthriad—yn ei gynddaredd dall—claddodd Green hi yn ei ystlys. Can gyflymed a'r fellten, tynodd y gyllell allan, a brathodd ef ddwywaith drachefn, cyn i ni allu diarfogi y llofrudd. Syrthiodd Willy Hammond gydag ochenaid drom, a'r gwaed yn llifo o'i ystlys.

Yn y braw a'r cythrwfl a ddilynodd, rhuthrodd Green allan o'r ystafell. Anfonwyd am y meddyg yn ddiaros; yr hwn, ar ol ei chwilio yn fanwl, a ddywedai fod yn farwol.

Oh! ing a chyni y tad, pan y rhedodd rhywun ato i ddyweyd wrtho am y ddygwyddiad ofnadwy. Ni welais y fath ddirboenau yn ngwyneb un dyn erioed. Y tawelaf o'r holl gwmni pryderus ydoedd Willy ei hunan. Ni thynai ei olwg oddiar wyneb ei dad.

A ydych mewn poen fawr, fy machgen? sibrydai yr hen wr, fel y gogwyddai drosto, nes ydoedd ei wallt hirwyn yn ymgymysgu â chydynau llaith y dyoddefydd.

Dydi'r boen ddim yn fawr, nhad, oedd yr ateb gwanaidd. Peidiwch a dyweyd am hyn wrth fy mam yrwan. 'Rwyf yn ofni y gwnaiff ei lladd.

Beth allai y tad ateb? Dim! Ac yr oedd yn fud!

Ydi hi yn gwybod am hyn?. Aeth cwmwl tros ei wyneb.

Ysgydwodd Hammond ei ben.

Ar hyn clywid gwaedd drallodus yn y gwaelod. Yr oedd rhyw hurtyn difeddwl wedi cludo y newydd galarus i'r fam.

Fy mam druan ydi hi, ebai Willy, a gwridai ei wyneb gwelw. Pwy allai ddyweyd wrthi am hyn?

Cychwynodd Mr. Hammond tua'r drws, ond cyn iddo ei gyrhaedd, daeth y fam wallgofus i mewn.

Oh! Willy! fy machgen! fy machgen! gwaeddai gyda llais cwynfanus, nes peri i bob calon oedd yn bresennol doddi. Yna cofleidiodd a chusanodd ef gyda serchawgrwydd annarluniadwy.

Oh! fy mam! fy anwyl fam! gwaeddai yntau gan syllu yn ei wyneb yn gariadus, fel pe buasai ei enaid yn berwi ynddo o hoffder tuagati.

Oh! Willy! Willy! Willy! fy mab, fy mab! a chusanodd ef drachefn.

Ceisiodd Mr. Hammond y pryd hwn eu gwahanu, rhag y buasai y peth yn effeithio yn ddrwg ar ei fab.

Peidiwch, nhad! ebai Willy; gadewch iddi. Nid wyf yn cynhyrfu dim. Mae'n dda genyf ei bod hi yma yrwan.

Peidiwch a siarad gair, ebai y fam, gan ddodi ei bysedd yn dyner ar ei wefusau. Bu dystawrwydd am ychydig eiliadau; ond dechreuodd ei fam eilwaith wylofain a chwynfan yn dorcalonus.

Mam! ydach chwi yna? Edrychai o gwmpas yr ystafell yn wyllt.

Ydwf, Willy anwyl! dyma fi.

Fedra i mo'ch gweled, mam; mae mor dywyll. Oh, mam! mam! gwaeddai yn sydyn gan luchio ei hunan ar ei mynwes—safiwch fi! safiwch fi!

Mor gyflym yr ymlapiodd y fam ei breichiau am dano, gan ei gofleidio yn dŷn!

Daeth y meddyg yn mlaen, gan ei fod yn ofni y canlyniadau, a cheisiodd ryddhau ei breichiau—ond yr oedd pob ymdrech yn aflwyddiannus.

Mae o wedi marw! clywais y doctor yn sibrwd; a pharodd y geiriau i ryw iasau oerion redeg trwy fy ngwaed.

Cyrhaeddodd y geiriau glustiau Mr. Hammond, ac O! ei ochenaid drom!

Pwy sy'n dyweyd ei fod wedi marw? gofynai y fam yn gyffrous, fel y dodai ei bachgen o'i breichiau i orwedd ar y gwely, gan edrych yn wyllt ar ei wyneb gwelw. Rhoddodd un ysgrech fawr pan ddeallodd fod y peth yn wir, a syrthiodd yn ddifywyd ar draws corff marw ei mhab!

Yr oedd pawb yn yr ystafell yn tybied mai wedi syrthio i lewyg yr oedd Mrs. Hammond; ond profodd ychydig eiliadau yn amgen. Yr oedd yr ymwybodolrwydd o farwolaeth ei mhab wedi dyfod ati mor sydyn, nes iddo ei hamddifadu o'i bywyd. O! y fath olygfa! Y mab a'r fam yn farw yn mreichiau eu gilydd!

I ba le yr aethai Green?

GLASLWYN.

---

## HEL DY ROSYNAU.

*(Efelychiad, cyflwynedig i'r 'Gemau Cerddoriaeth,' gan Hafrenydd.)*

Hel dy rosynau, hel yn awr,
  Mae amser yn myn'd heibio;
Fe all y blod'yn teg ei wawr
  Fod fory wedi gwywo.

Defnyddia'n ddoeth yr orig hon,
  A dethol ei thrysorau;
Yf o'r ffynonell sydd ger bron,
  O wyw bur bleserau.

I. D. FFRAID.

---

Mae y gohebiaethau canlynol wedi dyfod i law:—Tydain—Mona—W. C.—Maxwell—Ieuan Nanmor—Gwladgarwr—Dysgybl.

## TRAETHODAU BACON.

AM DDIAL.

MATH o gyfiawnder afreolus ydyw dial, a pho fwyaf y rhed natur dyn ato, mwyaf yn y byd y dylai cyfraith ei chwynu: canys nid yw y camwedd cyntaf ond trosedd o'r gyfraith, ond y mae dial y cam hwnw yn troi y gyfraith allan o swydd. Yn ddiau, wrth ymddial, nid yw dyn ond yn *wastad* â'i elyn; ond wrth fyned heibio i fai y mae *uwchlaw* ei elyn; canys rhan tywysog ydyw maddeu: ac y mae Solomon, debygaf, yn dyweyd, "Harddwch yw i ddyn fyned dros gamwedd." Y mae yr hyn a aeth heibio wedi myned, ac nis gellir ei adferu, ac y mae gan ddynion synwyrol ddigon i'w wneyd gyda phethau presennol a phethau dyfodol; gan hyny nid yw y rhai sydd yn ffwdanu gyda phethau a aethant heibio, ond yn chwareu plant â hwy eu hunain. Nid oes yr un dyn yn gwneyd cam er mwyn y cam, ond er mwyn drwy hyny brynu iddo ei hun elw, neu bleser, neu anrhydedd, neu'r cyffelyb; gan hyny, paham y digiaf fi wrth ddyn am garu ei hunan yn fwy na myfi? Ac os gwna rhywun garu o natur ddrwg yn unig, nid yw ond megys pigiad draenen neu fieren, y rhai sydd yn pigo ac yn cripio am nad allant wneyd dim arall. Y fath fwyaf goddefol o ddial ydyw, dial am y camweddau hyny nad oes cyfraith i'w hunioni: ond, gofaled dyn fod ei ddial y fath nad oes cyfraith i'w gosbi, onidê y mae ei elyn eto yn flaenllaw arno, ac y mae dau am un.

Y mae rhai wrth ddial yn awyddus am i'r person wybod o ba le y mae y dial yn dyfod: y mae hyn yn fwy boneddigaidd; oherwydd dengys hyfrydwch nid cymaint mewn gwneuthur y niwed, ac mewn gwneyd i'r troseddwr edifarhau: ond y mae dynion annewr, brwnt, a dichellgar, fel y saeth sydd yn hedeg yn y tywyllwch.

Yr oedd gan Cosmos, Duc Florence, ddywediad enbyd yn erbyn cyfeillion bradwrus neu esgeulus, fel pe buasai y beiau hyny yn anfaddeuol. "Gellwch ddarllen," meddai, "ein bod yn cael ein gorchymyn i faddeu i'n gelynion, ond ni ddarllenwn byth ein bod yn cael ein gorchymyn i faddeu i'n cyfeillion." Ond eto, yr oedd ysbryd Job mewn gwell hwyl: "A dderbyniwn ni gan Dduw yr hyn sydd dda, ac oni dderbyniwn yr hyn sydd ddrwg?" ac felly mewn cymhariaeth gyda chyfeillion. Hyn sydd sicr, fod y dyn sydd yn cynllunio dial yn cadw yn agored ei archollion ei hun, y rhai oni bai hyny a wellaent yn dda. Y mae dialeddau cyhoeddus y rhan amlaf yn ffodiog; megys y dial am farwolaeth Cæsar; am farwolaeth Pertinax; am farwolaeth Harri y Trydydd o Ffrainc; ac amryw ereill. Ond gyda dialeddau personol nid yw felly; yn hytrach, y mae dynion dialgar braidd yn byw bywyd dewiniaid, y rhai, fel y maent yn ddiriaid, felly deuant i ddiwedd truenus.

Cyf. CADWGAN.

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

Y SEITHFED NOSWAITH.

AETH y newydd am y dygwyddiad arswydus fel tân gwyllt trwy Cedarville. Yr oedd yr holl dref wedi ei chynhyrfu. Yr oedd y ffaith i Willy Hammond gael ei lofruddio gan Green, cyn pen ychydig funudau yn cael ei daenu gan bob tafod; a chant o wahanol adroddiadau yn cael eu dyweyd mewn perthynas i'r achos, a manylion y dygwyddiad. Erbyn i'r darpariadau gogyfer a chludiad y cyrff marw i breswylfod Mr. Hammond gael eu gorphen, yr oedd cannoedd o bobl—gwŷr, gwragedd, a phlant—wedi ymgasglu o amgylch y dafarn; yr oedd ugeiniau yn crochlefain am Green; tra y gwaeddai ereill am y Barnwr Lyman, yr hwn, erbyn hyn, a ddrwg-dybid gan y bobl, y fod â wnelo efe â'r helynt. Ni wnaeth ymddangosiad y ddau gorff marw, y rhai a ddygid ar ystyllod, ond mwyhau eu digllonedd. Gan ychwaneg nag un y clywais y geiriau, "Dowch a'r mwrdrwr allan!"

Aeth rhan o'r dyrfa i ganlyn yr orymdaith brudd, tra yr arhosodd y rhan fwyaf o amgylch y dafarn. Yr oedd digofaint angerddol yn erbyn Green yn tanio pob mynwes; a phan esgynodd un—eu blaenor—i ben rhyw foncyn, a gwaeddi—

Rhaid i ni beidio gadael i'r mwrdrwr ddianc! atebwyd ef â bonllef ofnadwy gan y dorf, nes oedd yr awyr yn clecian.

Dewiser deg o ddynion i chwilio y tŷ a'r amgylchoedd, gwaeddai eu blaenor gwrol.

Ië! ië! Dewiswch nhw! Enwch nhw! atebwyd yn uchel.

Enwyd deg o ddynion wrth eu henwau, y rhai heb aros moment a ddaethant yn mlaen.

Chwiliwch bob man—o'r to i'r selar; o'r dalfod i gwt y ci. Pob man! pob man! gwaeddai y dyn.

Heb betruso dim aeth y deg i'r ty. Am agos i chwarter awr bu y dorf yn dysgwyl mewn pryder ac annyoddefgarwch cynyddol. O'r diwedd gwnaeth yr ymchwilwyr eu hymddangosiad gyda'r hysbysrwydd nad oedd Green i'w gael yn unlle yn y tŷ na'r amgylchoedd. Derbyniwyd ef gydag ochenaid siomedig.

Na fydded i un dyn yn Cedarville weithio *stroke* cyn dod o hyd i'r mwrdrwr! bloeddiai y dyn oddiar ei orsedd ddyrchafedig. Dilynwyd ef â banllef gymeradwyol.

Bydded i bob un sydd yn meddu ceffyl wneyd defnydd o hono yn yr ymchwiliad, ychwanegai eu blaenor.

Gadawodd oddeutu haner cant y dorf yn frysiog. Trefnodd y gwrolddyn y gwyr traed yn bedair rhan, gan roddi i bob rhan ddosbarth neillduol o'r wlad i'w harchwilio. Yr oedd y gwŷr ceffylau i wneyd eu hymchwiliad yn y rhanau allanol o'r wlad, a'r gwŷr traed yn y rhanau mewnol.

Fel yr elai yr oriau heibio, dychwelodd un ar un o'r ymchwilwyr adref, yn flinedig heb ddim ffrwyth i'w llafur. Tua'r prydnawn dechreuodd y gwŷr ceffylau hefyd ddychwelyd, ac erbyn machludiad haul gwnaeth yr olaf ei ymddangosiad. Yr oeddynt oll yn flinedig ac wedi eu siomi yn ddirfawr, ac yn cwbl gredu ddarfod i'r llofrudd ddianc yn ddiogel.

Bu *bar-room* y "Black Lion" bron yn wag o ymwelwyr am rai oriau ar ol dygwyddiadau cynhyrfus y bore. Ni wnaeth Slate ei ymddangosiad nes i'r dorf chwalu. Pan ddaeth i lawr yr oedd yn edrych yn drefnus ac wedi eillio yn lân, ond yr oedd arwyddion cryfion arno iddo dreulio noswaith yn ddigwsg. Yr oedd ei lygaid yn gochion a thrymion, a'i amrantau yn chwyddedig. Pan oedd yn dyfod i lawr y grisiau, yr oeddwn inau yn cerdded yn y dramwyfa. Edrychai yn gywilyddgar, ac aeth heibio i mi heb ddyweyd gair, ond yn unig amneidio arnaf. Yr oedd euogrwydd yn gymysgiedig â phryder a dychryn yn argraffedig ar ei wynebpryd. Yn ddiamheu, yr oedd yn gweled lle cryf i gredu y gallasai yntau syrthio i helynt, oblegid yr oedd ef yn un o'r rhai a fuasai yn gamblo yn ystafell Green pan gyflawnwyd y weithred ysgeler.

Dyma helynt dost, meddai, pan ddaethom wyneb yn wyneb yn mhen rhyw haner awr wedi hyn. Nid edrychai yn wrol yn fy llygaid.

Dychrynllyd! atebais. Llygru a dinystrio dyn ieuanc, ac yna ei fwrdro! Nid oes hanes am weithred fwy ysgeler ar dudalenau hanesyddiaeth.

Fe'i cyflawnwyd mewn nwydwylltedd, ebai y tafarnwr, fel pe buasai yn ceisio cyfiawnhau Green. Doedd Green ddim yn bwriadu ei ladd, ychwanegai.

P'am oedd raid iddo gario erfyn dinystriol yn ei logell mewn cwmni heddychol, ynte? Yr oedd mwrdrad yn ei galon, syr, atebais.

Mae nyna yn siarad pur gry'.

Nid cryfach nag y gwnaiff ffeithiau brofi, atebais. Mae mwrdrad yn ei galon o'r dechreuad. Mae ei ymddygiadau blaenorol tuagat Willy Hammond yn profi hyn tuhwnt i bob dadl.

Wel, myn d———l leiciwn i ddim bod yn 'sgidiau Green, ebai y tafarnwr dan grynu.

Craffais yn fanwl ar ei wyneb. Yr oedd yn ddigon eglur mai y gosb oedd yn ymddangos mor ofnadwy yn ei olwg, ac nid y trosedd ei hunan. Och! fel yr oedd y fasnach feddwol wedi ei lygru.

Yr oedd fy ngeiriau mor annymunol gan Slade, fel y cafodd ryw esgus parod i fy ngadael.

Pan hwyrhaodd, dechreuodd erlynwyr aflwyddianus y gamblwr ymgasglu o un i un i'r dafarn, a chyn pen awr yr oedd y *bar-room* wedi ei orlenwi gan y mob siomedig a digllawn, y rhai a fwrient allan y geiriau mwyaf anrasol, oherwydd na chawsent gyflawni mesur eu digofaint. Yr oeddynt oll yn argyhoeddedig i Green ddianc yn llwyddianus; a chryfaf yn y byd yr ä'i yr argyhoeddiad hwn, mwyaf oll oedd eu digofaint. Yr oeddynt oll yn gwybod fod yn yr ystafell lle y cyflawnwyd y weithred heblaw Green a Hammond, y Barnwr Lyman, a Simon Slade. Gan fod y mob wedi colli eu hysglyfaeth, yr oeddynt yn sychedu am dywallt eu dialedd ar ryw un arall.

P'le mae Slade? gwaeddai un o ganol y *bar-room.* Pam y mae o yn cadw ei hunan o'r golwg?

Ië; ple mae o? gwaeddai haner dwsin.

Fu o 'n chwilio am Green? gofynai un.

Naddo! naddo! na choeliais i wir! ebai gryn haner cant.

Ac eto y mwrdrad yn cael ei gyfiawni yn 'i dŷ o 'i hun, o flaen ei lygaid!

Ië; o flaen ei lygaid! gwaeddai amryw yn ddigofus.

P'le mae Slade? Welodd rhywun o heno? Mathew, ple mae Simon Slade?

Dydw i ddim yn meddwl i fod adre', atebai ceidwad y *bar*, yn betrusgar a dychrynedig.

Pryd y gwelsoch chi o ddywaetha?

Welais i mono er's dwy awr.

Celwydd! gwaeddai un yn ffyrnig.

Pwy sy'n deud fod o 'n gelwydd? ebai Mathew, gan geisio ymddangos yn ddigofus.

Y fi! A rhuthrodd dyn cryf a chreulon yr olwg i'w ymyl.

Pa hawl sy gynoch chi i ddeud hyny; gofynai Mathew, gan oeri ychydig.

Achos fod chi yn deud celwydd! ebai y dyn, gwelsoch ef o fewn llai na haner awr yn ol, a hyny wyddoch chi 'n dda. Yrwan, os ydach chi isio bod allan o helynt deudwch y gwir. Dyda' ni ddim mewn ysbryd i lolian. Ple mae Slade?

Wn i ddim, ebai Mathew, yn benderfynol.

Ydi o yn tŷ?

Wrach y fod o, ac wrach nad ydio ddim. Wn i ddim mwy am dano na chithe.

Newch chi edrych am dano fo?

Aeth Mathew at y drws, a gwaeddodd am Frank.

Be sy isio? gwaeddai Frank, yn rwgnachlyd.

Ydi 'ch tad yn ty?

Be wn i—na waeth geni chwaith, oedd yr ateb anrasol.

Doed rhywun a fo i mewn i'r *bar-room,* a mi nawn iddo fo hidio tipyn.

Cyn i'r cynygiad gael ei wneyd bron, llithrodd dau ddyn allan o'r *bar*, gan fyned i'r ystafell o'r hon y daethai llais Frank. Y foment nesaf dychwelasant gan ymafaelyd un yn mhob braich i Frank, a'i dynu fel plentyn i'r *bar*. Edrychai can wyned a'r galchen, ac wedi ei orlenwi â dychryn o herwydd yr ymosodiad annysgwyliedig hwn ar ei ryddid.

Dyma ti, machgen i, ebai un mor gynted ag y daeth i mewn, os wyt ti 'n dewis bod allan o helynt, ateb ein cwestiwnau ni, ac i'r pwrpas hefyd. Dyda ni ddim am lolian hefo neb. Ple mae dy dad?

Rwyn meddwl fod e o gwmpas y ty yn rhywle, ebai Frank, yn wylaidd.

Faint sy er's pan welaist ti o?

Does dim llawer.

Deng munud?

Na; cwmpas haner awr.

Ple 'roedd o 'r amser hwnw?

Roedd o 'n myn'd i fynu'r grisiau.

O'r gore; rydani isio fo. Dos i nol o mewn munud.

Gadawodd Frank yr ystafell, ond daeth yn ol yn mhen rhyw bum munud, a dywedai nad allai ddod o hyd i'w dad yn unlle.

Ple mae ynte? gofynwyd yn ddigllon.

Yn wir, foneddigion, wn i ddim. Yr oedd edrychiad pryderus Frank yn dangos ei fod yn dyweyd y gwir.

Mae ne rywbeth o'i le yma, ebai un. Pam na fase fo yma? Pam na fase fo yn ceisio dal y mwrdrwr, a fynte wedi gwel'd y peth â'i lygaid ei hun.

Synwn i ddim na ddaru fo'i helpio fo i ddianc, ebai un arall, heb gymaint ag un ffaith i attegu ei gyhuddiad pwysig.

Does dim dowt am hyny! ebai un arall, mor fyrbwyll a'r blaenaf; ac yr oedd hyn yn ddigon i gynhyrfu digofaint aflywodraethus y mob, yr rhai sydd bob amser yn rhy frysiog yn eu penderfyniadau, ac yn rhuthro yn eu plaenau heb ymorol am ffeithiau boddhaol, na gwrandaw ar lais rheswm.

Ple mae o? Ple mae o? Mae Slade yn gwybod yn eitha da ple mae Green, gwaeddent

Dewiswyd dau neu dri o ddynion i archwilio y ty, ac aeth amryw ereill allan i gymeryd cylch eangach. Gadewais y *bar*, ac aethum i'm hystafell. Yr oeddwn yn teimlo fy hunan yn gyffröus a blinedig, a gorweddais i lawr gyda'r gobaith o gael gorphwysdra. Yr oeddwn eisioes wedi goleu canwyll a chloi y drws. Yr oeddwn wedi gorwedd ychydig, ac yn gwrandaw y dwndwr cras oedd i lawr—swn traed oedd yn cynniwair yn ol a blaen hyd y tramwyfeydd, drysau yn cau ac agor, &c, pryd y daeth i'm meddwl fy mod yn clywed rhywun yn anadlu yn fy ystafell. Cyfodais yn fy eistedd, ond yr oedd dychlamiadau fy ngwaed erbyn hyn i'w glywed yn eglurach na dim allanol i mi.

Nid ydyw ond dychymyg, meddwn wrthyf fy hun, ond parheais i eistedd a gwrandaw.

Wedi boddloni fy hunan nad oedd o ddim ond dychymyg, gorweddais eilwaith, gan geisio ymlid y drychfeddwl fod rhywun yn fy ystafell. Cyn i mi bron lwyddo yn hyn, dychlamodd fy nghalon drachefn. Dychymygwn glywed swn rhywun megys yn symud yn fy ystafell.

Dim ond dychymyg! meddwn wrthyf fy hun, fel yr elai rhywun heibio y drws ar y foment. Mae fy meddwl yn gynhyrfus, meddwn.

Eto cyfodais fy mhen gan ei gynal â'm llaw, a gwrandewais, gan gyfyngu fy sylw i fy ystafell heb wrandaw ar y dwndwr oddiallan. Yr oeddwn ar ollwng fy mhen ar y gobenydd, pryd y clywais mor eglur nad oedd yn bosibl i mi gamgymeryd, besychiad gwanaidd, yr hwn a barodd i mi roddi ysbonc i'r llawr ac edrych odditan y gwely. Yr oedd y dirgelwch wedi ei gael allan. Dyna lle y gwelwn bâr o lygaid tanllyd yn dysgleirio yn ngoleu y ganwyll! Yr oedd y ffoadur Green tan fy ngwely. Safais, ac edrychais arno am rai eiliadau heb allu dyweyd gair, ac yntau yn sylldremu arnaf yn ffyrnig a beiddiol. Gwelais ei fod yn crafangu am ei bistol.

GLASLWYN.

---

## FFERYLLIAETH.

*Gan Thomas Price, Athraw Fferyllawl yn Ngholeg Normalaidd Abertawe.*

### PENNOD VI.

### YR AWYR

MAE y byd yn cael ei amgylchynu âg awyr, yr hwn sydd yn cyrhaedd i fyny oddeutu pum milldir a deugain oddiar wyneb y ddaear. Mae yn gwasgu i lawr ar wastadedd y môr gyda grym o bymtheg pwys ar bob modfedd ysgwâr; ond fell y mae yn dyrchafu tuag i fyny, mae ei bwysau yn lleihau, ond fel y bydd yn myned i lawr mae yn cynyddu. Seilir hyn ar y faith ganlynol:—Pan y mae'r awyr-fesurydd yn cael ei osod ar wastadedd y môr, fe fydd yr arian byw yn sefyll yn uwch na phan ar ben mynydd, ychydig gannoedd o droedfeddi uwchlaw gwastadedd y môr. Felly, eglur yw fod yr awyr ar wyneb y ddaear yn fwy gwasgedig na'r awyr rai cannoedd o droedfeddi yn uwch, ac yn parhau felly nes o'r diwedd gyrhaedd uchder lle na fydd dim awyr. Priodol ydyw i chwi ofyn i mi yn awr, O ba beth y mae'r awyr yn cael ei wneyd i fyny? Y mae yn cael ei wneyd i fyny gan fwyaf o ddwy awyr (ac nid elfen ydyw fel y meddylid rai blyneddau yn ol)—sef *nitrogen* ac *oxygen*, yn y cyfartaledd canlynol:—Yn mhob can mesur o awyr bydd triugain a phedwar ar bymtheg o honynt yn *nitrogen*, ac un ar hugain o *oxygen*, heblaw yr awyrau hyn bydd yn yr awyr bob amser *carbonic acid, light carburet-*

oleu a syml ddinystr dyn trwy y cwymp, ei brynedigaeth drwy Iesu Grist, heb arian ac heb werth ; pe pregethent gyfiawnhad drwy gyfrifiad o gyfiawnder ein Gwaredwr, ac ail-enedigaeth a sancteiddiad drwy yr Ysbryd Glân ; pe pregethent yr efengyl i bob creadur, a bod eu hunain yn weddïwyr mynych, ac wedi eu llenwi â gofal am eneidiau dynion, Duw a'u llwyddai hwynt; ni fyddent yn Arminiaid nac yn Antinomiaid, ac oddiwrth Buseyaeth a Phabyddiaeth, ni fyddai ganddynt ddim i'w ofni.

Mae hwn yn destyn ag sydd yn hawlio sylw athrawon duwinyddol, ac yn galw am weddïau y duwiolion yn ein heglwysi. Gan obeithio y bydd i rywun mwy galluog, ac yn nghanol ei fywyd, wneyd sylw pellach arno, y gorphwys yr eiddoch yn wirioneddol,

HEN WEINIDOG.

## BETH YDYW CWSG?

DIM ond arferiad, meddai un, ac i'r dyben o roddi prawf i'r byd o wirionedd ei farn, ceisiodd fyw heb gysgu am dair wythnos; ond nid aeth tair wythnos arall dros ei ben na syrthiodd i hûn na ddeffrôdd byth ohoni! Cwsg ydyw y sefyllfa hono i ba un y disgyna dyn, ag y mae cysylltiad yr ymenydd â rhyw ranau neillduol o'r corff yn cael ei attal. Mae rhyw ranau o gorff dyn nad ydynt byth yn cysgu, megys y galon, yr ysgyfaint, ermigau cylchrediad y gwaed, a'r rhanau hyny o'r gyfundrefn gieuol sydd yn cynnorthwyo eu gweithrediadau. Ond pan mae cwsg yn dyfod dros ddyn, ymddengys fel pe byddai cysylltiad y rhanau hyny â llywodraeth yr ewyllys yn peidio am amser—megys, er engraifft, y giau hyny ag sydd yn symud y breichiau, y llygaid, a'r tafod, &c., a'r oll yn dyfod yn rhydd, ac yn ymollwng yn ddiymadferth. Gellir egluro y cysylltiad a enwyd fel hyn:—Sylwch ar y dyn acw sydd yn eistedd yn dawel o flaen y tân ar hirnos gauaf. Mae ei ben i fyny, a'r ewyllys yn meddu cyflawn lywodraeth ar bob cymal a giau ohono. Ond mae syrthni yn dyfod arno, mae yr ymenydd yn raddol yn colli ei ddylanwad, ac mae gewynau y gwddf fel yn diffrwytho, a'r pen yn ymollwng i lawr. Nid yw y cwsg ond ysgafn, efallai, ac mae y swn lleiaf yn ei ddeffro. Cynhyrfir yr ymenydd, ac mae ei ddylanwad yn dychwelyd; buan y daw y gewynau i deimlo hyny, nes y cyfyd y cysgadur ei ben i fyny eilwaith. Mae yn rhoddi naid ddisymwth—tynheir y gewyn mewn eiliad, i fyny â'r pen, egyr y llygaid, gwrendy y glust, hyd nes ei meddiannir gan deimlad o ddiogelwch ac esmwythdra. Daw cwsg o hyd iddo drachefn, torir ymaith y cysylltiadau gieuol, ac i lawr â'r pen fel o'r blaen.

Ond paham y *breuddwydia* dyn yn ei gwsg? Mae yn breuddwydio drwy gynhyrfiad yr ymenydd yn ystod yr oriau hyny pan mae attalfa ar ei gysylltiad â'r rhanau bywydol ohono. Er engraifft: breuddwydia dyn fod rhyw fwystfil gwyllt yn erlyn ar ei ol, ac mae y meddwl mewn canlyniad yn myned trwy holl gynhyrfiad teimlad o berygl, a cheisia ei ysgoi; ond mae y cysylltiad sydd rhwng y gallu i symud a'r peiriant symudol wedi ei dori, ac ni symuda fodfedd o'i le. Buasai yr un argraffiadau ar yr ymenydd pan yn gysylltiedig â'r gewynau, yn peri i'r traed redeg gyda'r cyflymder mwyaf, mewn ymgais i ddianc rhag y perygl tybiedig.

Dyna i chwi, yn fyr, philosophi cwsg; ond os ydych am gwsg esmwyth a diberygl, mynwch gydwybod dawel a heddychlon rhyngoch a Duw a dyn, cyn rhoddi eich pen ar obenydd, ac yna ni raid i chwi ofni agor eich llygaid â'ch traed ar ororau pell y tragywyddolfyd mawr!

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

### YR WYTHFED NOSWAITH.

YR oeddwn yn Washington y mis canlynol, ar adeg terfyniad tymmor y Gynghorfa. Yr oedd cysylltiad y Barnwr Lyman âg achos Green a Hammond ieuanc wedi iselu ei gymeriad gymaint yn Cedarville, a'r holl dalaeth a gynnrychiolai, fel y barnai ei blaid yn ddoeth ei roddi o'r neilldu, a chymeryd i fyny ymgeisydd na chyfarfyddai â'r fath wrthwynebiad cryf. Trwy wneuthur felly buont yn llwyddiannus i wrthsefyll cynnydd y blaid ddirwestol, y rhai a lwyddasant yn barod i ddwyn y "Maine Law" i'r Cynghor Taleithiol. Dyma, gan hyny, ydoedd y gauaf olaf a welai y Barnwr Lyman yn Washington.

Tra yn eistedd tua chanol dydd, yn Fuller's Hotel, y diwrnod wedi i ni gyrhaedd Washington, sylwais ar berson ag y tybiwn fy mod yn gydnabyddus â'i wyneb, yr hwn a edrychai o'i gwmpas fel pe buasai yn ymchwilio am rywun. Tra yn ymofyn â mi fy hun pwy allai fod, clywais ddyn yn sylwi wrth un arall oedd yn ei ymyl, Dyna'r aelod diffaith yna o'i le yn y Tŷ eto. Pwy, ebe y llall. Y Barnwr Lyman, ydoedd yr ateb. O, meddai y llall, nid yw o gymaint pwys. Ychydig iawn o ddoethineb mae ef yn ychwanegu at y corff deallus hwnw.

Mae ei bleidlais yn werth rhywbeth, o leiaf, pan y mae cwestiynau pwysig ar y bwrdd.

Beth yw y pris mae yn ofyn am ei bleidlais? gofynwyd yn oeraidd.

Yr oedd yna godi ysgwyddau, a syrthiad aeliau, ar hyn, ond dim ateb.

Yr wyf fi yn ddifrifol, ebe yr olaf a siaradai. Nid mewn dyweyd fod Lyman yn gwerthu ei bleidlais am y pris uwchaf?

Mae hyny yn ymddibynu yn hollol ar pwy

fydd yn cynnyg. Mae yn rhaid iddynt fod yn ddynion a rhywbeth ganddynt i'w golli yn gystal ag i'w enill—dynion na bydd raid gadael y blaid i'w gwasanaethu. Mae y Barnwr bob amser yn gyfeillgar â'r aelodau a elwir yn "aelodau y lobby," ac fe ellir ei weled bob dydd yn eu cwmni. Mae yn ddiamheu ei fod yn absennol o'r Tŷ yn awr i'r dyben o gyfarfod â'r boneddigion hyny ag sydd yn talu yn dda am bleidleisiau.

Yn sicr ddigon nis gallwch feddwl i'r oll a ddywedwch gael ei gymeryd yn ei ystyr ëangaf, oedd yr atebiad i hyn.

Ië, yn ei ystyr ëangaf. I'r dwfn ddarostyngiad moesol a gwladol hwn mae y dyn yma wedi syrthio, gan ddianrhydeddu yr etholwyr, a dianrhydeddu ei wlad.

Nid yw ei bresennoldeb yn Washington yn siarad yn uchel iawn yn mhlaid y bobl a gynnrychiola.

Nac ydyw; eto, fel y mae pethau yn awr yn bod, nis gallwn farnu gwerth moesol y bobl oddiwrth y dynion a anfonir ganddynt i'r Gynghorfa. Dangos nerth pleidiau yn unig mae cynnrychiolwyr.

Gwerthai dynion tebyg i'r un ag y dywedwch chwi yw Lyman, eu gwlad, fel Arnold arall.

Gwnaent, os byddai y cynnyg yn ddigon uchel.

Ydi o yn gamblio, deudwch?

Gamblio, ellir ddyweyd yw rhan o'i alwedigaeth. Ychydig iawn o nosweithiau sydd yn pasio, na cheir ef wrth y bwrdd gamblio.

Ni chlywais ychwaneg. Nid oeddwn wedi synu dim wrth yr hyn a glywais; canys yr oedd fy ngwybodaeth flaenorol am y dyn wedi fy mharotoi i glywed yr holl bethau a glywais. Yn ystod yr wythnos yr oeddwn yn aros yn Washington cefais gyfleusdra i weled y Barnwr Lyman yn y Ty ac allan o'r Ty—ac ni fyddai yno ond pan ei rhenid ar ryw fesur pwysig fyddai yn gosod rhyw freintiau neillduol ar rywrai. Llawer gwaith y gwelais ef mor feddw ag y byddai yn stagro wrth geisio myned trwy y mynedfa, ac unwaith yr oedd yn rhaid ei gario i'w le. A gwaeth na hyny, pan yr oedd ei enw yn cael ei alw allan, yr oedd ef yn cysgu, a rhaid oedd ei ysgwyd amryw droiau cyn y byddai yn ddigon effro i roddi ei bleidlais.

Fel mae'r goreu yn bod, dyna ei auaf olaf yn Washington. Y tymmor canlynol, cymerodd dyn gwell nag ef ei le.

---

Yn mhen dwy flynedd cefais fy hun yn agoshau at bentref tawel Cedarville drachefn. Fel yr oedd y clochdy yn dyfod i'r golwg, a thŷ ar ol tŷ yn weledig yma ac acw, gyda'r coedydd deiliog, a'r meusydd gwyrddleision, yn y cefn, deuai yr holl ddygwyddiadau cyffrous a gymerodd le ar adeg fy ymweliad o'r blaen yn newydd i fy meddwl. Yr oeddwn o hyd yn meddwl am farwolaeth echrydus Hammond, a'i fam dorcalonus, yr hon a gollodd ei bywyd gyda'i fywyd yntau. O! y fath gyfnewidiad oedd yma! Esgeulusdra ac adfeiliad oedd yn weledig ar bob llaw. Yr oedd y gwrychoedd i lawr yma ac acw, y rhodfeydd prydferth yn llawn chwŷn a glaswellt; a'r ardd, yr hon oedd gynt fel yr enfys, yn gyfoethog o bob lliwiau a rhosynau pereiddiol, fel diffaethwch. Wrth edrych ar y tŷ gwelwn y simnai drylliedig, a'r priddfeini yn yr un man ag y tarawasant y llawr, a'r hen do bron ag ymollwng trwodd. Yr oedd y ffenestri yn gauedig, ond y drws yn agored, ac wrth fyned heibio gyda'r cerbyd, gwelwn hen wr i mewn ar ei eistedd. Nid oedd yn ddigon agos at y drws i mi gael golwg ar ei wynebpryd; ond wrth i mi weled ei wallt gwyn hirllaes, nid oedd amheuaeth yn fy meddwl pwy ydoedd. Y Barnwr Hammond ydoedd.

Cyrhaeddais hen westy Cedarville, ac yr oedd amser yma hefyd wedi gwneyd ei ôl yn fawr. Wrth borth y tŷ yr oedd dwy neu dair o hen gasciau *whiskey*, ar un o ba rai yr eisteddai dyn hagr, difoes; a'i gefn ar y wàl, a'i lygaid croes yn dilyn pob cam a roddwn at y tŷ.

A! ai chwi sydd yma, ebe fe, fel y deuais yn agos ato, yn siarad yn floesgaidd, ac yn codi i fyny yn anystwyth. Adwaenais yn awr berson Simon Slade. Wrth sylwi arno yn fanylach, gwelais fod y llygad a dybiwn i oedd yn gauedig wedi ei ddinystrio. Mor fywiog y neidiodd yn fy nychymyg y golygfeydd a welais y noswaith olaf yn y *bar*; y noswaith y bu agos i'r mob barbaraidd, ag y rhoddes ef wirod iddynt, ei lofruddio.

Mae'n dda gin i dy wel'd ti, 'machgen i! Mae'n dda gin i dy wel'd ti! 'Dy—'dy—dydw i ddim yn iawn—wyt ti'n gwel'd. Sut yr wyt ti, sut yr wyt ti?

Ac yna ysgydwodd fy llaw gyda ryw serchowgrwydd haner meddwol. Yr oeddwn yn teimlo yn anghysurus yn ei bresennoldeb. Ddyn truenus! Y oedd yn llithro i lawr y pydew a gloddiodd i ereill, heb fod ganddo ddigon o nerth i gyfarfod â'i dynged. Ceisiais siarad âg ef am ychydig o funudau; ond yr oedd ei feddwl fel wedi ei gymylu, a'i atebion yn wyllt ac anghysylltiol, a gadewais i ef ac aethum i'r *bar*.

A allaf fi gael llety yma am ddeuddydd? ebe fi, wrth greadur swrth ac anolygus a eisteddai ar gadair y tu ol.

Gallwch, ydwi'n meddwl, meddai, oddiar ei eistedd.

Mi a ddymunwn gael ystafell, ebe fi, ar ol cerdded at y drws ac yn ol.

Cododd y dyn i fyny yn araf, a dododd ei law mewn hen ddesg yn ymyl. Yn mhen enyd, tynodd allan hen lyfr llwydaidd yr olwg, ac wedi ei daflu ar y cownter, gofynodd i mi, yn ddigon dihidio, i ysgrifenu fy enw ynddo.

Wedi chwilio, a chwilio yn ofer, yr holl ystafelloedd, am bin ac inc, tynais fy mhensel allan, ac ysgrifenais fy enw ar hen ddalen seimlyd o'r llyfr; ond gyda fy mod wedi gorphen, dyma Frank i mewn a chlamp o *cigar* yn ei safn, â chwmwl dudew o fwg yn amgylchynu ei ben. Yr oedd wedi tyfu yn ddyn mawr lysti er pan welais ef o'r blaen, er mai ychydig o'r dynol oedd i'w ganfod yn ei wyneb.

Sut yr ydach chi, ebe fe, ac yn cynnyg ei law i mi. Peter, ychwanegai, dywedwch wrth Jane am roi y No. 11 mewn trefn i wr boneddig yn ddioed, a gofalu am newid y cynfasau.

Mae pethau yn edrych yn lled ddwl yma, ebe fi.

Ydyw; lle dwl yw hwn bob amser, ebe yntau.

Sut mae eich mam?

Dim gwell, oedd yr ateb, gyda rhyw olwg cythryblus ar ei wyneb.

Mae'ch mam yn sâl, ynte?

Ydyw, er's cryn amser bellach, meddai Frank.

A ydyw hi gartref?

Nac ydyw, syr.

Gan ei fod yn arddangos rhyw anmharodrwydd i ddyweyd ychwaneg ar y mater yna, ni ofynais ychwaneg o gwestiynau iddo, a chafodd yntau gyfle i'm gadael yn fuan.

Yr oedd *bar-room* y "Black Lion" yn cynnwys yr un dodrefn yn gymhwys a phan yr oeddwn yno o'r blaen, ond heb fod yn agos can laned. Yr oedd pobpeth, rywsut, allan o le, yr annhrefn mwyaf ar y silffodd, y llawr yn fudr, ac arogl anhyfryd yn llenwi fy ffroenau. Wedi cwbl ffieiddio ar y *bar*, aethum i'r *sitting-room*. Yr oedd yma ryw fath o drefn ar bethau; ond yr oedd y llwch can dewed ar y drychau a'r byrddau ag y gallech ysgrifenu eich enw arnynt. Nid rhyw lawer gwell ydoedd yr arogl ychwaith; ac i'r dyben o fwynhau awyr bur, aethum allan i'r porth.

Dyna lle yr oedd Slade byth, a'i bwysau ar y wàl.

Mae hi yn ddiwrnod braf, ebe fi.

Braf iawn, ebe yntau.

'Dydach chi ddim yn gwneyd cystal ag y byddech chi flyneddau yn ol, meddwn i.

Na—yda'ch chi'n gwel'd—mae—mae'r hen ditotals yma yn dyfetha pobpeth.

Ai felly mae, ai ê?

Wel, ia, elwch chi,—'dydi Cedarville ddim yr un fath a phan yr oeddech chi yn arfer dyfod i'r "Black Lion" er's talwm. Mae—mae—elwch chi. Yr hen felldith y titotals yma. Nhw sydd wedi dyfetha'r cwbl—pob peth! Dyfetha ——

Yr oedd yn cyboli ei eiriau yn y fath fodd fel nas gallwn i ei ddeall yn fy myw, ac ymadewais oddiyma am y dref i wneyd fy musnes, tra yn teimlo tosturi calon at wrthddrych mor druenus.

Yn ystod y prydnawn daethum i ddeall fod Mrs. Slade mewn gwallgofdy. Yr oedd dygwyddiadau ofnadwy y dydd y lladdwyd Hammond ieuanc wedi gorphen ei dinystrio, yr hwn a ddechreuodd yr amser y gadawodd ei gwr alwedigaeth heddychol melinydd i fyned i gadw tafarndy. Pan y cyrhaeddodd y newydd ei chlustiau fod Willy a'i fam wedi marw, rhoes ysgrech, a syrthiodd mewn llewyg. Ond yr oedd ei chyfeillion wedi sylwi yn mhell cyn hyn fod rhywbeth ar ei synwyr. Frank oedd ei heilun penaf. Yr oedd yn fachgen moesol, serchog, ac anwyl cyn symud i'r dafarn; ond yno fe'i dyfethwyd am ei oes, ac, mewn gwirionedd, yr oedd lle o'r fath yn ddigon a llygru angel! Mor fuan, ysywaeth, y sylweddolwyd ei hofnau gwaethaf am ei mab! Mor hawdd gan y galon ddynol yw anwesu pob drwg, ac anhawdd ydyw rhyddhau bachgen, fel ydoedd Frank, oddiwrth gysylltiadau isel, annuwiol, a llygredig y *bar-room*. Pe buasai ei dad wedi efrydu cynllun er ei ddinystrio, nis gallasai wneyd hyny yn well nag y gwnaeth.

Clywais fod Flora gyda'i mam yn ceisio ei dyddanu yn ei horiau adfydus.

Yr oedd diwedd echrydus Willy Hammond, at yr hwn y dangosai gryn ymlyniad serchiadol, bron wedi ei hamddifadu hithau o'i rheswm. Ni throes ei llygaid byth ar ei chartref er yr amgylchiad torcalonus hwnw. Yr oedd hi a'i mham wedi colli pob dylanwad ar ei brawd. Er gwaethaf dagrau mam a thaerineb tyner chwaer, i lawr, i lawr, yr oedd yn myned yn ei yrfa ryfygus. Achos arall o ofid dwys i'w hysbryd ydoedd y cyfnewidiad oedd wedi dyfod dros ymddygiad ei thad, yr hwn fu unwaith mor siriol a thyner ei dôn, ac mor anwyl o'i ferch ag un tad yn yr holl wlad.

Yn yr hwyr cefais fy hunan drachefn yn *mar* y "Black Lion." Yr oedd yr hen Slade ychydig yn fwy effro erbyn hyn, wedi golchi ei wddf â chwrw cryf ar ol ciniaw. Yr oedd yno ddau neu dri o bersonau ereill; ond Frank, o bawb yn y lle, oedd yn siarad yr iaith fwyaf isel a chableddus. Yn mhen ychydig denwyd fy sylw at ŵr ieuanc a elwid "Ned," yr hwn, erbyn edrych, ydoedd fab i'r Mr. Hargrave hwnw, y gall fod gan y darllenydd ryw adgof o hono, ymadawaid yr hwn â *bar* y "Black Lion" a achosodd y fath siarad yn mysg y cwmni. Wedi peth ymddyddan isel a gwawdlyd am hwn a'r llall, cyfeiriodd Simon Slade at waith yr hen Hargrave yn dyfod i ymofyn Ned bob nos fel pe na buasai yn ddigon galluog i gymeryd gofal o hono ei hunan.

Pe buasai Ned ddeugain cufudd yn y gororau uffernol byddai ei dad yn siwr o ddyfod o hyd iddo, ebe Slade. Mae'n gas genyf t weled ei hen wyneb dwys a rhith-santeiddiol o.

Gyr o adre' â phry' yn ei glust, Ned, ebe un arall.

Dyna just beth ydw i am wneyd y tro nesaf, meddai Ned.

O, ïe, dyna wyt ti wedi addo wneyd lawer gwaith.

Wel yrwan am dani hi, lads. Neidia i fyny Ned. Mi gawn ffyn; a dyma hen ŵr parchus o ymddangosiad i mewn, yr hwn a adwaenwn yn dda gynt wrth yr enw Mr. Hargrave.

Edward! Edward! tyr'd fy mab.

Paid a myn'd, meddai rhyw lais, nad oedd yn ddigon gwrol i sefyll i fyny yn ngwyneb Mr. Hargrave i ddyweyd hyny.

Edrychais ar Edward. Ni symudai fodfedd o'r lle yr eisteddai; eto yr oedd yn amlwg fod yna gynhwrf nid bychan o'i fewn. Edward! meddai y tad tyner eilwaith, gyda rhyw nerth anorchfygol, ond heb fod yn awdurdodol. Yr oedd Edward ar godi pan y gwaeddodd Frank Slade—O! 'r ffŵl sâl i ti.

Taniai llygaid Mr. Hargrave, ac ymsythai'n eofn, ond heb ddyweyd dim.

Yn awr edrychwch yma, ebe Simon Slade, yn ddigofus, yr wyf fi yn blino ar beth fel hyn. Pa'm na chadwch chwi Ned gartref; 'does ar neb ei eisio fo yma.

Gwrthodwch chwi werthu gwirod iddo, ebe Mr. Hargrave.

Gwerthu gwirod ydi fy ngwaith i, ebe Slade, yn hyf.

Gresyn na buasai genych alwedigaeth mwy anrhydeddus, meddai Hargrave, yn alarus.

Os insyltiwch chi fy nhad, meddai Frank, â'i ddyrnau yn gauedig wrth ben yr hen ŵr, mi—mi—

Gwell ydyw peidio llychwino dalenau un llyfr â'r bytheiriau echryslon a arferodd yma; ond tra yr oedd yn myned i daraw Mr. Hargrave, cododd dyn cryf i fyny a gwaeddodd, Aros, wr ieuanc, gwae ti, os cyffyrddi â blewyn o'i wallt o. Mr. Lyon ydoedd enw y gŵr, a diolchodd Mr. Hargrave iddo am sefyll mor wrol o blaid hen ŵr. Ond aroswch, ebe Mr. Hargrave wrtho yn ddystaw, lle drwg i chwi ydyw lle fel hyn. Paham yr arhoswch chwi yma?

Ië, lle drwg ydyw, meddai Lyon allan yn hyf; ond arferiad, arferiad, Mr. Hargrave, dyna'r felldith. Gadewch i ni gael y Maine Law, ac fe fydd rhyw siawns i ni wed'yn.

Ond pa'm na fuasech chwi yn fotio gyda ni i gael y ddeddf hono? meddai Hargrave.

Pa'm y darfu mi fotio gyda chwi? felly y dylasech chwi ofyn.

Yr oeddwn i yn meddwl eich bod wedi fotio yn ein herbyn, ebe Hargrave.

Y fi fotio yn eich erbyn yn wir! 'dydw i ddim mor ddall i'm lles fy hunan ag y gwnawn i felly; a phe gwyddech chwi'r gwirionedd, synwn i ddim mymryn na wnai pob dyn yn yr ystafell yma heno, ond Slade a'i fab, fotio yr un ochr â chwi, syr.

Mae'n beth hynod iawn ynte, ebe Mr. Hargrave, gyda h[illegible]l ddynion meddwon o'n tu, i ni golli'r dydd yn [illegible] etholiad diweddaf.

Mae'n rhaid i [illegible]wi feio y cymedrolwyr am hyny, y rhai na ch[illegible]fyddant unrhyw berygl, ond ydynt yn wastad [illegible] myned i ganlyn eu plaid.

Deuwch allan, Mr. Lyon, [illegible]ni a ddymunwn siarad gair â chwi.

Cododd Mr. Lyon, ac aeth g[illegible] Mr. Hargrave a'i fab. Fel yr oeddynt yn [illegible]madael o'r ystafell cododd Frank ar ei draed, a gal[illegible] Lyon yn ragrithiwr melldigedig, ac wrth i[illegible] dad (ychydig yn gallach y tro hwn), geisio ei os[illegible] aeth yn ffrae ben-ben rhwng y ddau.

Nis gallwn inau aros yn hwy i glywed y rhegfeydd a'r melldithion arswydlawn gyda pha rai y cyfarchent eu gilydd. Dyna yr arddangosiad mwyaf alaethus o ddiraddiad y natur ddynol a welais i yn fy oes. Felly gadewais y lle; ac yr oeddwn yn falch fod modd i mi ddianc rywfodd o awyrgylch mor lygredig, ac o ŵydd golygfeydd mor ofnadwy o ddychrynllyd!

---

## PETHAU GWERTH EU GWYBOD.

GELLIR dwyn cynghaws yn y mân-ddyledlys sirol am enllib ac ymosodiad ar gymeriad dyn.

Os gwrthoda meistr ddysgu ei alwedigaeth i'w egwyddorwas, yn ol ei ysgrifrwym, gall yr olaf ddyfod ag achos yn mlaen o flaen unrhyw lys gwladol, a gorfodi ei feistr i dalu yn ol yr arian a dderbyniodd wrth ei brentisio.

Gall gwraig, gyda chydsyniad ei gŵr, wneyd ewyllys.

Rhyddheir gŵr oddiwrth gynnaliaeth plant gwraig a briododd, pan fyddo farw y wraig hono, beth bynag fyddo eu hoedran.

Pan yr anfona meistr am feddyg i'w weinidog, gellir gorfodi y gwas i dalu traul y meddyg wed y gadawo y cyfryw wasanaeth.

Mae chware cardiau mewn tafarndy yn drosedd cosbadwy.

Nis gellir gorfodi milwr, trwy gyfraith, i gadw ei wraig.

Ni charcherir personau am ddyled, pan nad oes ganddynt eiddo yn eu meddiant, os na bydd rheswm digonol dros dybied eu bod yn ceisio twyllo, sarhau, neu ysgöi y gyfraith.

Yn ol cyfraith Geo. IV., c. 76, s. 28, rhaid i bob priodas gymeryd lle rhwng wyth a deuddeg o'r gloch yn y bore, onite gellir cosbi gweinyddwr y briodas â 14 mlynedd o alltudiaeth.

Rhaid i rybudd i ymadael o dŷ gael ei roddi yn unol â'r cytundeb yr aeth y cymerwr iddo â'i feistr tir; ac ni wna gwaith y cymerwr gwreiddiol yn ei ail-osod i un arall un gwahaniaeth.

peth y mae y naill gryfaf y mae y llall wanaf. "Y neb sydd heb ei fai sydd heb ei eni," a'r neb sydd heb ei wendid, heb ei ail-eni. Gwadodd Abraham ei wraig—dyna ei wendid; tarawodd Moses y graig—dyna ei wendid; melldithiodd Job ei ddydd—dyna ei wendid; amheuodd Dafydd ffyddlondeb trugaredd, a dywedodd, "Dyma fy ngwendid."—*Parch. D. Roberts, Caernarfon.*

A WYT TI YN CREDU YN MAB DUW?—Nid am dano y mae'n rhaid credu yn unig, ond *ynddo*. Mae'r pechadur yn credu *am* Grist yn gyntaf, ac y mae yn credu *ynddo* pan y rhydd ei hunan iddo. Y mae o hyny allan yn *ymddiried* iddo am ei fywyd. "Mi a wn i bwy y credais, a'i fod ef yn abl i gadw yr hyn a roddais ato erbyn y dydd hwnw." A *fentraist* ti ryw beth i'w law erioed i'w gadw i ti? Ti a golli yr oll a feddi am byth os na roddi ato Ef i'w gadw erbyn "y dydd hwnw" y peth a fynit fwynhau.—*Parch. D. Charles, Caerfyrddin.*

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

### Y NAWFED NOSWAITH.

NID oedd Slade na'i fab yn bresennol wrth y bwrdd amser brecwest y boreu canlynol. Ond yr oedd ychydig o lymeitwyr boreuol yn y *bar* ar y pryd—dynion o gyfansoddiad pwdr a gwynebau ysmotiog, y rhai oeddynt yn methu dechreu diwrnod o waith heb y diodydd poethion. Deuent i mewn yn lled araf, a gofynent am yr hyn oedd arnynt ei eisieu gyda lleisiau isel—yfent yn ddystaw, ac ymaith â hwy.

Tua naw o'r gloch gwnaeth gwr y tŷ ei ymddangosiad. I'r *bar* âg ef, ac yno rhuthrai i hen ddecanter llawn o frandi, a thywalltai haner peint o'r gwlybwr tanllyd, yr hwn a yfai ar ei dalcen. Beth pe gwelsech chwi ei law yn crynu, a'i olwg awchus yn codi'r gwydryn at ei enau? Y fath wedd hagr oedd arno! Y melinydd ddeng mlynedd yn ol, a'r tafarnwr heddyw! Pwy fyth allasai ddyweyd yn awr mai yr un person ydoedd.

Fel yr oedd Slade yn troi i'r *bar*, daeth dyn i mewn. Sylwais fod cyfnewidiad uniongyrchol yn ngwyneb y tafarnwr wedi cymeryd lle. Tynodd y dyn bapyr o'i logell, ac a'i rhoddes iddo; ac yntau yn bur ofnus ei edrychiad a'i hagorodd. Ymliwiodd Slade yn ei wyneb; ac yn mhen enyd daeth i'w wedd flaenorol, ond ychydig yn llwytach.

O'r gore—purion, mi edrycha i iddo fo, ebe fe, dan geisio meddiannu ei hun, ac eto yn llyncu pob gair oedd yn dyfod o'i enau.

Nid oedd y dyn neb amgen na gwas y Sirydd, yr hwn, wedi rhoddi un edrychiad sobr a swyddogol, a aeth ymaith, ac ymaith â Slade i'r *bar*.

Trwbl, trwbl, meddai y tafarnwr, yn lled isel, ac eto yn ddigon uchel i mi glywed, fel pe buasai yn dymuno i mi ei gwestiyno. Ond yr oeddwn yn meddwl na fuasai hyny yn beth iawn i mi ei wneyd.

Wedi cael y beili ar ei gefn o'r diwedd, meddai y gwas.

Be ydi'r mater, Wil, gofynai rhyw ddyn oedd yn rhyw haner ymorwedd â'i bwys ar ymyl y *bar*, ar ol pwy mae Jenkins yrŵan, dywad?

Ar ol yr hen ddyn, meddai Wil, mewn llais ag y gellid tybied fod yn bleser ganddo ddyweyd y newydd.

Nage!

Iä yn wir, mae o yn hollol wir, ebe Wil, dan haner chwerthin.

Beth sydd i dalu? ebe'r dyn.

Wn i ddim, ac ni waeth gin i chwaith.

Mi gollodd y gyfraith gyda Barnwr Lyman.

Ddaru o?

Do; ac mi glywais i y Judge yn tyngu os byth y do'n nhw i'w grafangau o, y gwertha fo bob copa walltog o honyn' nhw allan; a dyn i'w air ydi'r Judge.

Tra yr oedd y dyn yn sipian ei whiski, yr oedd Wil yn pwmpio allan â'i holl egni yr achos o'r holl drwbl oedd wedi dyfod ar ben yr "hen greadur," chwedl yntau; ac yn wir yr oedd y dyn wedi cael gafael ar y stori yn lled lew. Yr oedd Lyman a Slade am hir amser wedi bod yn bur hoff o gymeryd hwn a'r llall i mewn fel y dywedir; a phan nad ellid cario y twyll allan i berffeithrwydd heb ddau, yr hen Slade fyddai y dyn i wneyd y nifer i fyny. Ond yr oedd pethau wedi troi yn ei erbyn yntau, oblegid iddo redeg yn lled ddyfn i lyfrau y Barnwr.

Tra yn rhodio yn synfyfyriol y bore hwnw drwy Cedarville, nis gallwn lai na sylwi ar y dystawrwydd, y marweidd-dra, a'r cyfnewidiad cyffredinol oedd wedi cymeryd lle yn yr olwg ar bethau o'm deutu. Pan ddaethum gyferbyn a thŷ Mr. Harrison, yr hwn a ddeallodd y perygl, oddeutu dwy flynedd yn ol, o gadw tŷ i werthu y gwlybyron meddwol, nid oedd ynwyf un amheuaeth o barth y cyfnewidiad a dybiwn oedd yn weledig yn yr ardal. Fel yr oeddwn yn cymeryd trem ar ac oddiamgylch yr annedd, dyma foneddiges allan, ychydig uwchlaw y taldra cyffredin, a phrudd-der dwys yn gorchuddio ei gwynebpryd. Ah! meddwn i wrthyf fy hun, wrth fyned yn mlaen, gymaint o obeithion anwyl fu unwaith yn llenwi y galon yna, ond sydd yn awr wedi eu gwasgaru yn y gwynt! Ië, hon oedd y Mrs. Harrison ag y clywais fod ei dau fab wedi syrthio yn ysglyfaeth i'w chwantau. Fam anhapus!

Aethum yn mlaen ar fy rhawd trwy y pentref, gwelwn arwyddion adfeiliad mewn amryw o dai ereill, a'u perchenogion fel pe buasent oll wedi myned yn ol yn y byd, i raddau mwy neu lai. Yr oeddwn yn deall, wrth ymholi, eu bod yn ddieithriad wedi neu yn parhau i fod yn ymwelwyr yn y "Black Lion!"

Deng mlynedd yn ol adnabyddid y Barnwr Hammond fel y dyn cyfoethocaf yn y pentref; ond erbyn craffu ar furiau moelion ei annedd, gwelwn fod hen gartref Hammond, a chartref ei dadau, wedi ei gymeryd oddiarno. Nid oedd dim bywyd yn weledig. Yr oedd y drws wedi ei gau—y ffenestri wedi eu bario—heb un cysgod o fŵg yn duo ael yr hen simnai. Mor fywiog yr oedd y dychymyg yn adferu bywyd, harddwch a dedwyddwch, oedd yn cyfansoddi y cartref dedwydd hwnw, ychydig flynyddoedd yn ol—y fam gyda'i bachgen gobeithiol yn edrych yn ffyddiog i'r dyfodol—y tad yn falch o'i drysorau teuluol, ond heb fod yn wyliedydd doeth arnynt, er hyny.

Ah! Gwae iddo erioed agor y drws i'r blaidd rheibus ddyfod i mewn i'r gorlan! Ond felly y bu, a'r fath gyfnewidiad! Y Barnwr hunanol a gorfodol yn y tylod-tŷ—y mab wedi cyfarfod â thynged echrydus—a'i wraig wedi disgyn o'i gwallgofrwydd i'r bedd! A'r cwbl, meddwn i wrthyf fy hun, oherwydd fod un dyn yn rhy ddiog ddilyn galw-

edigaeth onest, a bod yn rhaid iddo gael myned i werthu gwirodydd poethion!

Gyda'r nos dychwelais i'r "Black Lion," ac yn y bar yn haner meddw yr oedd Slade a'i fab, gyda phump neu chwech o bersonau agos yn yr un cyflwr a hwythau. Yr oedd amgylchiadau anghysuron Slade yn cael eu crybwyll yn ddystaw gan y naill wrth y llall, ac fe ddywedid fod rhan fawr o'r bai yn gorwedd wrth ddrws Frank.

Yr oedd wedi naw o'r gloch, ac yr oedd un neu ddau o'r cwmni ar ymadael, pan y gwelwn Frank Slade yn codi am y trydydd neu y pedwerydd tro i fyned ychydig o'r neilldu. Yr oedd ar gymeryd gafael mewn potelaid o frandi, pan y daeth ei dad ato, ac yr ymaflodd yn ei law.

Gollyngwch fy llaw," meddai y gwr ieuanc yn nwydwyllt.

Na wnaf. Dyro'r botel yna i lawr—'rwyt ti'n feddw y munud yma.

Peidiwch a chyboli efo mi, hen ddyn. Dydw i ddim mewn *temper* i gymeryd y 'nhrin gynoch *chwi*.

Yn 'dwyt ti gin feddwed a ffwl, yrwan, ebe yr hen ŵr, tra yn gafael yn y botel. Gollwng hi!

Yr oedd y bachgen ar hyn fel pe buasai wedi ymgynddeiriogi, a chyda chryn nerth, tarawodd yr hen ŵr yn ei ben â'i ddyrnau, yr hwn a syrthiodd draw ar ei hyd ar lawr. Gallodd godi i fyny, a chan ruthro yn wallgof ar y mab, ceisiai ei daraw.

Cadwch i ffwrdd, meddai Frank, cadwch i ffwrdd, ac yn cymeryd gafael yn y botel haner llawn yr un amser.

Ond yr oedd y tad wedi myned yn rhy bell mewn gwallgofrwydd i ofni dim, aeth yn mlaen ato, a tharawodd y mab yn ei wyneb.

Y dyn ieuanc, wedi ei gynhyrfu gan ddiod a nwydau drwg, a daflod y botel yn uniongyrchol at ben ei dad. Ni fethodd ei nod. I lawr a'r hen ŵr, ac yr oedd ei gwymp a'i ruddfanau yn arwyddo yn amlwg fod y botel a'r darnau drylliedig wedi suddo yn ddwfn i'w ben. Wedi ini fyned ato, a cheisio ei godi i fyny, yr oedd yr iasau mwyaf arswydlawn yn treiddio trwy bob calon. Yr oedd gwedd farwol ar ei wyneb, a rhwnc angeu i'w glywed yn ei wddf! Mewn tri munud o'r amser ei tarawyd yr oedd ei ysbryd wedi ei alw i roddi cyfrif am y gweithredoedd a wnaethpwyd yn y corff.

Frank Slade, yr wyt ti wedi mwrdro dy dad.

Bu y gwr ieuanc ryw gymaint o amser yn deall ystyr y geiriau yna; ond y foment y deallodd yr hyn oedd wedi ei wneyd, rhoes waedd echrydus dros yr holl dŷ.

Haner awr ar ol hyn yr oedd Frank yn garcharor unigol yn ngharchar y sir.

A raid i'r darllenydd wrth ryw esboniad ar yr amgylchiad ofnadwy hwn? Na raid; ac nid ydym ninau yn meddwl am gynnyg yr un iddo ychwaith.

## LLANDWROG.—M. N. 8. 8. 8. 6.

D. A. JONES (DEWI WYLLT), CAERNARFON.



Wel dyma 'r cariad sydd yn awr
Yn curo pob cariadau i lawr,
Yn llyncu enwau gwael y llawr,
Oll yn ei enw ei hun:

Rhyw fflam angerddol gadarn gref
O dân ennynodd yn y nef,
Tragwyddol gariad ydyw ef,
Wnaeth Dduw a minnau 'n un.

rai sydd yn anweledig ar eu penau eu hunain, yn hedyn y llysieuyn. Ond trwy gymhorth y mwyadur dangosir hyn i raddau bron anghredadwy. Dywedir y canfyddir, trwy gymhorth yr offeryn hwn, greaduriaid mor fychain ag y cymer 300,000 o honynt i wneyd maint tywodyn. Morthwylir aur mor denau fel ag y cymerir 1,500 o'r *sheets* i wneyd trwch papyr ysgrifen. Dywedir y gellir nyddu pwys o wlan i gyrhaedd 80 milldir! ac y cyrhaeddai pwys o wê y pryf copyn holl amgylchoedd y ddaear.

Cyneddf arall briodol i ddefnydd yw, y duedd sydd yn mhob corff i barhau yn yr un sefyllfa. Y mae yn ddigon amlwg, am bob gwrthddrych a fyddo yn gorphwys, nad oes yr un duedd ynddo, o hono ei hun, i symud; arosai yn yr un lle yn dragywydd oddieithr i ryw ddylanwad o'r tu allan iddo ei hun beri ysgogiad iddo. Teimlir gweithrediad y duedd hon gyda phob gorchwyl bron, yn neillduol wrth gychwyn berfa ar y ffordd. Y gwaith mwyaf anhawdd yw *cychwyn;* ar ol cychwyn ä yn mlaen yn o rwydd. Hefyd, pan dderbynia unrhyw wrthddrych ysgogiad trwy ddylanwad gallu allanol, y mae ei duedd i fyned rhagddo, er i'r gallu a'i cychwynodd ddarfod yn ei weithrediadau, oddieithr ei rwystro gan ryw allu allanol arall, yn cynnyddu. Fel hyn, pan fyddo dyn yn rhedeg yn gyflym, teimla yn anhawdd ganddo aros yn ddisymwth. Yr achos nad yw pethau yn parhau mewn ysgogiad wedi eu cychwyn unwaith, ydyw fod dylanwadau ereill yn effeithio i attal hyny, megys pwysau yr awyr, &c.

Y nesaf ydyw *at-dyniad*, sef o *at* a *tynu*. Y mae at-dyniad o amryw fathau; ac yn eu plith mae at-dyniad ymlyniadol, ac at-dyniad dysgyrchiol.

Y mae yn amlwg fod y duedd ymlyniadol yn gryfach mewn rhai sylweddau na'u gilydd. Yn y gronynau sydd yn cyfansoddi dwfr nid yw ddim, fel nad yw trigolion y dyfnder yn teimlo dim anhawsder trigianu yn ei ganol. Trwy weithrediad hon y toddir meteloedd; gan fod cymhwysiad gwres at ddwfr yn gwanhau y gronynau, ac yn dinystrio eu hat-dyniad. Y mae yr at-dyniad olaf hefyd yn peri i wahanol ronynau gyrchu at eu gilydd, fel y syrth sylweddau i'r ddaear yn lle i fyny. Ond, yn benaf trwy ymchwiliadau Newton, profir fod y cyrff nefol yn symud yn eu cylchoedd; a chafodd hyny allan trwy foddion mor syml ag a synodd holl philosophyddion y byd.

Cymaint a hyna yn awr, ac ychwaneg ryw dro eto.

---

## DENG NOSWAITH YN Y "BLACK LION."

### Y DDEGFED NOSWAITH.

Y DYDD canlynol yr oedd papyrleni mawrion ar barwydydd y pentref yn hysbysu fod cyfarfod cyhoeddus i gymeryd lle y noswaith hono yn y "Black Lion." Ac yn mrig yr hwyr yr oedd nifer lled dda o ddynion parchus a difrifol yr olwg arnynt wedi ymgasglu at eu gilydd, yn mysg y rhai gallesid enwi Mr. Hargrave, yr hwn a ddewiswyd i lywyddu y cyfarfod.

Yr oedd cyfarchiad y llywydd yn gynnwysedig o adgofion teimladwy deng mlynedd yn ol, a'r cyfnewidiadau oedd wedi cymeryd lle yn amgylchiadau y trigolion ac agwedd y lle yn nghorff yr amser hwnw. Deng mlynedd yn ol, ebe fe, gan gyfeirio at hen ŵr penllwyd, wrth ei enw, yr oedd genych chwi ddau fab—bechgyn serchog, gobeithiol, a gwrol-galon. Pa le maent yn awr? Ni raid ateb. Mae eu hanes hwy a'ch gofid chwithau yn rhy adnabyddus. Deng mlynedd yn ol yr oedd genyf finau fab anwyl a charedig. Mae'r nefoedd yn gwybod fel y ceisiais ei gadw a'i amddiffyn! Ond fe syrthiodd! Mae awyrgylch y pentref wedi ei dywyllu gan saethau dinystr a galanastra, a phwy sydd ddiogel? Beth sydd i'w wneyd? A oes dim meddyginiaeth?

Oes! oes! y mae, meddai lluaws mawr o leisiau ar unwaith drwy yr ystafell.

Wel, os oes, ein tasg ni heno fyddo gwneyd y defnydd priodol o hono, er ein diogelwch, ac yna eisteddoedd y cadeirydd.

Ac nid oes ond un feddyginiaeth, ebe Mr. Morgan; mae yn rhaid i'r fasnach felldigedig ddarfod o'n mysg. Dinystriwch y ffynnon, ac fe dderfydd y ffrwd. Os mynwch achub yr ieuanc, y gwan, a'r diniwed, mae yn rhaid i chwi eu cadw oddiwrth y demtastiwn. Wŷr, frodyr, a thadau! fel un ag y bu yn agos iddo gael ei golli, ac fel un ag sydd yn crynu wrth feddwl am y perygl sydd yn daenedig yn ddyddiol ar ei lwybr, yr wyf yn eich tynghedu i attal y gorlif tanllyd ag sydd yn difwyno pobpeth ag sydd dda a phrydferth yn eich mysg. Hawliau neu ryddid pwy fyddai yn cael eu cyfyngu pe mabwysiedid y mesur? Ac yn wir, gan bwy y mae hawl i hau hadau afiechyd a marwolaeth yn ein broydd? Dadau! er mwyn eich plant anwyl a hoff mynwch roddi terfyn, a therfyn buan a bythol ar fasnach sydd yn achosi y fath ganlyniadau arswydlawn. Edrychwch ar Simon Slade, y melinydd hapus a charedig, ac ar Simon Slade y tafarnwr. A gafodd ef ei lesoli drwy y rhyddid o wneyd niwed i'w gymydog? Naddo, naddo! Yn enw'r nefoedd, gan hyny, dilëer y fasnach.

Tynodd Mr. Morgan o'i logell gyfres o benderfyniadau i'r pwrpas hwnw, drwy gyfrwng pa rai yr oeddid i ddatgan eu barn i'r awdurdodau o'u dymuniad i lwyr ddilëu y fasnach feddwol, fel, ar ol y dydd hwnw, na chaffai dyferyn mwy ei werthu o'r gwlybyron syfardanol o fewn terfynau y gorfforaeth; ac yn mhellach na hyny, yr oedd un penderfyniad yn eu rhwymo i ddyfetha holl wiriodydd y "Black Lion," ac i

godi trysorfa i ddigolledu dyledwyr Slade, os byddent yn galw am hyny. Fel y gallesid dysgwyl, bu peth ddadleu yn yr ystafell ar y priodoldeb o gymeryd cam mor bwysig a byrbwyll; ond, gydag ychydig o welliantau, fe brofodd synwyr a moesoldeb y bobl yn drech na'r cwbl.

Fel yr oeddwn bore dranoeth yn cymeryd fy eisteddle ar ben y cerbyd, gwelwn arwydd-lun y "llew du" oedd am flynyddoedd wedi bod yn denu dynion i ganol ei ffau ddinystriol, yn cwympo i'r llawr yn ddrylliau tan ddyrnodiau grymus hen saer y pentref, ac ymaith â fi.

## ENWOGION CYMRU.

### Y PARCH. JOHN BLACKWELL (*Alun*).

Y MAE llawer o ddynion yn tybio fod barddoniaeth ac anwybodaeth yn gymdeithion, a bod cynnydd gwybodaeth yn chwalu y rhith a'r dychymygion o feddyliau y bardd. Y mae yn rhyfedd mor wirioneddol y mae y dychymygion uchelaf yn cyduno â gwir wybodaeth, darganfyddiad, a gwyddoriaeth. Y mae barddoniaeth Llyfr Job, Esay, Milton, a Goronwy, yn wirionedd, nid yn unig i'r oes a'r wlad lle ei hysgrifenwyd, ond i'r holl oesau a'r gwledydd can belled ag y gellir ei hystyried yn gydunol â ffeithiau cyffredin. Y mae gwybodaeth yn chwalu y caddug, ac yn goleuo llusern sy'n gyru ar ffo gymylau tywyllion anwybodaeth, ac yn arddangos gogoniant sy tuhwnt i allu y dychymyg ei olrhain, neu yr athrylith gryfaf ei esbonio. Y mae un awdwr enwog yn sylwi "mai Athroniaeth a'r Celfyddydau ydynt yr unig bethau sy'n cael eu hefrydu gan yr ychydig o feddyliau uwchlaw y cyffredin; ond bod ffrwythau y dychymyg yn cael eu herlyn gan ddynion o bob desgrifiad." Y mae y dysgedig a'r annysgedig, y balch a'r difalch, yr hen a'r ieuanc, yn cael eu swyno wrth ddarllen gwaith y bardd gwir awenyddol. Y mae llawer ysbryd gwrol wedi cael ei ddeffro wrth ddarllen cân wladgarol, a llawer calon galed a meddwl gorfalch wedi eu meddalhau a'u gweithio i dosturi gan lawer desgrifiad tarawiadol roes yr Awen o gyfyngder. Y mae y pleser ag sydd sydd i'w gael wrth ddarllen gwaith y bardd yn arwain pob dyn yn naturiol i feddwl a myfyrio am yr amgylchiadau ag oedd yn nglŷn â helyntion ei fywyd. Yr ydys yn teimlo buddioldeb neillduol pan y sieryd am dano ei hunan. Pa Gymro sy'n meddu gronyn o ddynoliaeth yn ei fynwes all ddarllen bywgraffiad, yn enwedig llythyrau yr anfarwol Goronwy, heb deimlo ei galon yn ymdoddi o'i fewn? "Y mae yn anhawdd," meddai un ysgrifenydd, "i falchder ostwng ei glyboedd tua'r llawr i wrando ar addysgiaeth dynoliaeth isel." Y mae llawer coeg foneddwr, cyn heddyw, wedi bod yn euog o wneyd cilwg ddirmygus, a gwên ddiystyrllyd ar ymdrechion llawer o weithwyr tlawd i ymgyrhaedd am wybodaeth, yn enwedig y dosbarth hwnw o ddynion a elwir "Meibion Crisbin." Gyda phob dyledus barch i ddynion sydd wedi ymgodi trwy eu llafur a'u diwydrwydd, o iselderau tlodi i urddas ac enwogrwydd, yr wyf yn eithaf sicr nad oes yr un gelfyddyd ar wyneb y ddaear all honi cynnifer o ser mor ddysglaer yn ffurfafen ëang llenyddiaeth a'r un gryddol! Y mae pob dyn sy'n meddu synwyr cyffredin yn rhwym o barchu enwau dynion fel Carrey, Gifford, Bloomfield, Kitto, Drew, Cooper, a John Blackwell, gwrthddrych ein sylwadau presennol.

Ganwyd John Blackwell yn Ponterwyl, yn ymyl y Wyddgrug. Nid oedd ei rieni yn feddiannol ar gyfoeth, ond dibynent am eu cynnaliaeth wrth lafur eu dwylaw a chwys eu gwynebau. Yr oedd yn John awyddfryd cryf er yn blentyn at ddarllen, ac yr oedd y duedd hono yn cael ei meithrin ynddo gan ei fam dduwiol. Adroddai bennodau meithion o'r Ysgrythyrau allan ar gyhoedd, a thraddodai emynau melusion Williams Pantycelyn gyda brwdfrydedd a dylanwad tuhwnt i'r cyffredin, ac y mae yn ddiddadl mae hyn a roddodd gychwyniad i'w feddwl i hoffi barddoniaeth. Yr oedd yn hynod am ei ufudd-dod i'w rieni, ac yn dawel a diniwaid yn mhlith ei gyd-chwareuyddion. Un prydnawn, wrth ddyfod o'r ysgol, galwodd boneddiges ef at ei drws, a gofynodd amrywiol ofyniadau iddo. Wedi ei boddhau yn fawr yn ei atebion, rhoddodd iddo chwecheiniog, am yr hwn yr oedd yn dra diolchgar; ond cyn iddo gyrhaedd adref fe ganfu fachgen tlawd yn cardota, ymddangosiad yr hwn a enynodd ei dosturi gymaint nes y dechreuodd ei holi, a chafodd allan ei fod yn amddifad, ac heb fodd i dalu am letty noson. Ei galon a ddechreuodd ymdoddi o'i fewn, a gwnaeth aberthiad gwirfoddol o'r chwech! Fe brynwyd bwyd â'r arian, a chafodd y crwydryn le i orphwys ei ben ar obenydd tawel y noson hono. Yr oedd ei syched yn myned yn fwy angerddol am bob math o lyfrau yn barhaus; a dechreuodd chwilio a chwalu hen lyfr-gelloedd y gymydogaeth. Darllenodd hanesyddiaeth, teithiau, bywgraffiadau, a barddoniaeth; ac yr oedd pobpeth ag yr oedd yn ei ddarllen yn cael ei efrydu yn ofalus ganddo.

Pan yn unarddeg oed cafodd ei brentisio yn grydd gyda W. Kirkham, yr hwn oedd o gyffelyb dueddiadau ag yntau. Y mae rhywbeth yn mywyd ac ymdrechion diflino rhai dynion athrylithgar, fel nas gall y dynion mwyaf cul eu barnau lai na'u hedmygu. Pwy all lai na chanmawl awyddfryd John Clare, pan, ar ol cynnilo swllt, yn cerdded chwe milldir i bwrcasu gweithiau yr anfarwol Thompson ar y "Tymmorau?" Pa ddyn eill lai na theimlo, ar ol darllen am lafur, lludded, ac ymdrechion